# Y LLYSIEU-LYFR TEULUAIDD,

YN DDWY RAN;

Y RHAN GYNTAF

YN TRAETHU AR BRIF LYSIAU CYMRU,

Y LLEOEDD Y MAENT YN TYFU, EU DULLIAU,
A'U RHINWEDDAU.

YR AIL RAN

YN TRAETHU AR Y PRIF GLEFYDAU

AG Y MAE Y NATUR DDYNOL YN DDAROSTYNGEDIG IDDYNT,
YR ACHOSION O HONYNT, EU DECHREUAD, EU
CYNYDD, EU HARWYDDION,

YNGHYD A CHYFARWYDDIADAU I'W IACHAU.

GAN

R. PRICE, CWMLLYNFELL,

AC

E. GRIFFITHS, ABERTAWY.

Y TRYDYDD ARGRAFFIAD GYDA LLAWER O CHWANEGIADAU.

ABERTAWY:
CYHOEDDEDIG GAN E. A J. GRIFFITHS, HEOL-FAWR.
1890.

# RHAGYMADRODD.

Mor fuan ag y daeth y natur ddynol yn llygredig, daeth yn agored i lawer o glefydau, y rhai ydynt, fel byddin arfog, yn barod i ymosod ar y creadur a ryfygodd wrthryfela yn erbyn ei Lywydd cyfiawn a daionus. Mae llawer, trwy anystyriaeth ac annuwioldeb cyhoedd, yn niweidio eu cyfansoddiadau; ac mae galwedigaeth rhai sydd yn gorfod eistedd yn hir, a phwyso yn drwm ar y ddwyfron, yn effeithio yn drwm ar eu hiechyd.

Gwnaeth ein Crewr doeth a thirion i amrywiaeth mawr o lysiau dyfu o'n cylch; mae llawer o honynt, â'u lliwiau prydferth, yn addurno ein gerddi ac ymylau ein ffyrdd, ac yn ein sirioli â'u harogl peraidd. Ond nid er addurn a difyrwch yn unig y bwriadodd Ior y rhai hyn: parodd iddynt dyfu "at wasanaeth dyn," Salm 104. 14. Gan hyny dylem yn ddiau eu hystyried yn drugareddau gwerthfawr, ymdrechu dyfod i wybodaeth o'u nhatur, a'u defnyddio i'w gwahano ddybenion.

Cymerai ein hynafiaid sylw neillduol ar lysiau: ond mae pobl yr oesau diweddar, o herwydd diofalwch a balchder, wedi bod lawer yn fwy esgeulus. Ni cheir yn awr ond

ychydig o hen wragedd yn adnabod fawr o lysiau meddyginiaethol ein gwlad; ac ystyrir y rhai hyny braidd fel gweddillion yr oesau cyntefig, ac ymgynghorir â hwynt agos fel yr ymgynghorid gynt â swynwyr. Er cysur, mae diwygiad mawr wedi cymeryd lle yn ystod y blynyddoedd diweddaf. Dylai y werin yn enwedig mewn gwlad, lle mae cyflawnder o lysiau, ac, efallai, ddim un meddyg gerllaw, ymestyn at wybodaeth helaeth o'r llysiau gwerthfawr a gyflea Rhagluniaeth yn ein hymyl, y rhai, yn ddiau, ydynt yn fwy cydweddol â'n cyrph na'r meteloedd a'r cyffyriau pellenig, a ddefnyddir mor gyffredin.

Mae gan y Saeson amrywiol o lyfrau rhagorol ar lysiau, megys gweithiau CULPEPER, Dr. J. HILL, Mr. BROOKS, &c. Wrth gasglu defnyddiau y llyfr hwn, ymdrechwyd crynhoi i gylch bychan yr hyn oedd fwyaf pwysig a phwrpasol yn y llyfrau mawrion hyny: a chwanegwyd at hyny lawer oddiar sylw a gwybodaeth brofiadol. Ceir yn hwn sylwedd gweithiau mawrion a chostus y Saeson ar y pwnc.

Cyfeirir at amrywiol o lysiau o'r un natur, am nad ynt oll i'w cael yn mhob cymydogaeth; tyfa rhai mewn un ardal, ac ereill mewn ardal arall. Hefyd, rhoddwyd gwahanol enwau ar yr un llysiau, am mai nid wrth yr un enwau yr adwaenir hwynt mewn gwahanol leoedd. Yn y detholiad o lysiau, ymdrechwyd sylwi ar y rhai mwyaf pwrpasol, a hawsaf i'w cael. Er na cheir yma bob llysieuyn y gall ambell un dybied yn angenrheidiol, hyderir y ceir yma ddigon i ateb yr amcan mewn golwg: bu raid i ni gyfyngu, rhag i'r llyfr

fyned yn rhy uchel ei bris i'r dosparth y bwriedid ef yn benaf at eu gwasanaeth.

Yr ail ran sydd loffion, wedi eu casglu o weithiau y Doctoriaid SMITHSON, BUCHAN, THOMAS, ac ereill; ei dyben yw rhoddi rhyw awgrym i'r Cymro uniaith pa beth sydd yn niweidiol i'w gyfansoddiad, a pha beth sydd yn llesiol, a thrwy hyny ragflaenu clefydau, yn gystal a'u hiachau. Gall y cyfarwyddiadau, er mor distadl ydynt, fod yn werth ei fywyd i lawer un, os bydd iddo dalu sylw iddynt mewn pryd: mae meddyginiaeth ddistadl, ond ei chymeryd yn amserol, yn alluog i droi y clefyd mwyaf ffyrnig yn ol.

Na feddyliwch bod y llysiau a enwir yn y cynghorion, yr *holl* lysiau sydd yn taro eich dolur, nac, efallai, y rhai *goreu* i daro eich cyfansoddiad *chwi*; ni wnawd ond nodi y rhai nesaf at law. Wrth darllen y *Llysieu-lyfr*, cewch weled digon o rai ereill i'r un perwyl; nid oes un arweinydd yn fwy diogel yn yr amgylchiad hwn na'ch profiad eich hun. Dyma yr *Apothecaries' Hall* yn agored o'ch blaen, a grym ac effeithiau pob *drug* dan ei enw: cymerwch y peth a fynoch. Hefyd, yn gymaint a bod y llyfr canlynol yn cael ei amcanu i'r dosparth iselaf, defnyddiwyd iaith sathredig.

Rhoddwyd enwau y cyffyriau y bydd yn rhaid eu cael gan y fferyllydd, yn Saesoneg, o herwydd na fuasai pob fferyllydd yn deall eu henwau yn iaith y Cymro. Yn awr ni bydd eisiau ond i chwi eu hysgrifenu ar bapyr o'r llyfr, fel y maent yno, a myned a'r papyr hwnw at y fferyllydd.

Cymerwyd llawer o'r chwanegiadau o *Dr. Andrew's Cyclopædia of Domestic Medicine*, *The Family Physician*, a'r *New Household Receipt Book.* Chwanegwyd hefyd daflen helaeth y glefydau, y rhai y mae y llysiau yn bwrpasol i'w gwella ; a thaflen o ddognau o gyffyriau meddygol, yr hon a ystyrir yn werthfawr iawn, ac a gynwysa chwech tudalen.

Nid oes genym ond cyflwyno yr TRYDYDD ARGRAFFIAD i'ch sylw fel y mae, gan grefu, yn ostyngedig, am hynawsedd y gwybodus. Bod iddo fod o ryw wasanaeth i'n cydwladwyr yw gwir ddymuniad

Eich ewyllyswyr da,

R. PRICE,

E. GRIFFITHS.

CHWEFROR, 1858.


Hemp Agrimony


Agrimony


White Behen


Adders Tongue    Avens


All Heal


Bedstraw


Amomum


Black Alder


Bugle

# LLYSIEU-LYFR.

—:o:—

## Cyfarwyddiadau i Gynal Iechyd.

Gellir dywedyd fod dyn yn iach pan y byddo pob hylif a berthyn i'r corff yn cadw ei fesur a'i amser. Palldod yn un o'r pethau hyn a bair anhwyldeb yn y cyfansoddiad dynol. Pan feddyliom pa sawl math o hylif a berthyn i gorff dyn, a bod i bob hylif ei lwybr priodol ei hun, a bod rhai o'r pibellau hyn yn fychain annirnadwy, mae fod y peiriant rhyfedd hwn yn cadw ei le am gynifer o flynyddau, a bod nifer y cleifion mor lleied yn mhob cymydogaeth, yn mhlith y rhyfeddodau mwyaf.

Un o'r cysuron mwyaf a fwynha dyn yn y fuchedd hon yw *iechyd*. Mor fuan mae bob cysur arall yn diflanu pan ballo hwn! Mae lluniaeth yn gysur; a dillad, cyfoeth, ac anrhydedd, ydynt gysuron gwerthfawr: ond beth a wneir â bwyd heb iechyd i'w fwyta? a pha beth a wneir â dillad heb iechyd i'w gwisgo? a pha beth a wneir â chyfoeth ac anrhydedd heb iechyd i'w mwynhau? Heb y fendith werthfawr hon, mae nerth y corff yn pallu, ei degwch yn gwywo, a'r meddwl yn nghanol cyfeillion cu, yn isel a phruddaidd. Crechwen cyfeillion ni all ei ddifyru, golygfeydd natur ni allant ei loni, ac esmwythder ei wely ni all ei ddadebru; ond dihoena ddydd a nos dan y baich trwm o afiechyd. Gan fod iechyd mor werthfawr, diau y dylai dyn fod yn ofalus iawn i'w gynal a i feithrin trwy ymdrechu cyflawni ei amodau. Peth ofer yw dysgwyl iechyd pan ar yr un pryd yn troseddu ei ddeddfau, ac yn esgeuluso ei amodau. I'r dyben i'w gynal a'i feithrin, dylid arfer cymhedroldeb a gwyliadwriaeth mawr mewn bwydydd, diodydd, gwisgoedd, difyrwch, ac ymarferiad. Peth afresymol yw i ddyn ddysgwyl iechyd, pan ar yr un pryd y bydd yn bwyta ac yn yfed y peth sydd yn wenwyn i'w gyfansoddiad. Gwir yw y gallai Duw gadw iechyd yn ngwyneb y pethau hyn, ond er gwneyd hyny byddai raid iddo groesi natur, a gwneuthur gwyrth; a phwy ond dyn

gwallgof, a ddysgwyliai i'r Hollalluog wneuthur gwyrth i foddloni mympwy a blys yr afradlon? Mae Awdwr natur wedi cysylltu achosion ac effeithiau, moddion a dybenion, amodau a chysuron, â'u gilydd, ac wedi cynysgaeddu dyn â rheswm ac â deall i ymarfer â'r moddion, ac i gyflawnu yr amodau; a phan y byddo yn gwneuthur hyny, mae y cysuron yn sicr o ganlyn. Oni all dyn wybod pa beth sydd fwyaf cydweddol â'i gyfansoddiad mewn bwydydd a diodydd? Gŵyr pa beth sydd oreu iddo wisgo, oblegyd mae natur yn ei ddysgu. Gŵyr pa beth sydd oreu iddo wneuthur, oblegyd mae teimlad a phrofiad yn ei hyfforddi. Y mae pob cymal a gewyn o'i gorff yn areithio yn y modd mwyaf hyawdl yn erbyn pethau niweidiol, ac yn bygwth nychdod ac angau yn gosb oni ddiwygir yn fuan; ond eto gwell gan lawer feithrin blys na meithrin iechyd—gwell ganddynt golli eu cwsg a'u hesmwythder trwy y nos nâ cholli swper dda—gwell ganddynt ddyoddef mis o glefyd nâ pheidio gwisgo yn ol y *ffasiwn* ar y Sabboth—ïe, gwell ganddynt anurddo a dinystrio y cyfansoddiad harddaf a chryfaf, nag ymwrthod â defod yr oes. Darllenais hanesyn am ddyn oedd mewn perygl o golli ei lygaid trwy anghymedroldeb: pan aeth at y meddyg, dywedodd wrtho nad oedd yn ddichonadwy iachâu ei lygaid heb iddo adael ei feddwdod, ei fod yn rhwym o golli ei lygaid neu adael y gwin. "Wel, wel," ebe y meddwyn, "os felly, yn hytrach nâ gadael y gwin, *ffarwel* ddau lygad anwyl." Felly mae miloedd eto yn dinystrio eu cyrff a'u heneidiau wrth feithrin blys.*

Er bod iechyd, *fynychaf*, yn ffrwyth cymedroldeb a gwyliadwriaeth, a chlefyd yn *gyffredin* yn ffrwyth anghymedroldeb ac oerfel, eto efallai nad ydynt felly *bob amser*. Mae dynion cydwybodol yn cael eu gorfodi weithiau i wneyd pethau y gwyddant ar y pryd eu bod yn niweidiol i'w hiechyd. Canoedd o weithwyr tlodion ydynt yn gorfod sefyll eu diwrnod o'r boreu hyd yr hwyr mewn oerni a

* Dywedodd dyn yn ddiweddar pan yn hanner meddw, yn nghlyw y Cyhoeddydd, "Ni allaf roi heibio y bibell pe bawn yn colli bywyd tragywyddol!!" Dyn oedd hwn a godasid mewn teulu crefyddol; ond a ymroisai i yfed diodydd cryfion ac ysmocio, nes myned yn gaethwas i'w flys. Ieuenctyd Cymru, cymerwch rybudd; gochelwch gellwair â'r fath lygredigaethau.

gwlybaniaeth. Gŵyr y cyfryw rai er eu gofid fod hyny yn eithaf niweidiol i'w cyrff breulyd; ond eto pa beth a wnant am fara i'w teuluoedd lluosog? Pa gynifer o ddynion diniwed a leddir wrth weithio gan chwys a gwlybaniaeth! Weithiau gorfodir hwy i fyned trwy afonydd hyd eu canol, a gwisgo y dillad gwlybion dranoeth! Heb son am y miloedd morwyr ynt weithiau yn treulio misoedd a blynyddoedd cyfain ar y môr, gan dramwy trwy hinsoddau gwahanol: weithiau mewn gwres angherddol, a phrydiau ereill yn taro yn erbyn creigiau o ia; weithiau wedi eu deifio gan belydrau yr haul wrth groesi y cylch crasboeth, golchir hwynt yn ddisymwth gan wlawogydd mawrion, yn disgyn nid yn ddyferynau, ond yn ymdywallt yn nentydd o'r cymylau. Y pethau hyn, yn nghyd ag anfanteision mewnol y llongau, sef prinder dwfr, prinder awyr a thân, a phrinder lluniaeth iachus, ynt yn gwneyd y cyfryw leoedd yn anffafriol iawn i iechyd; ac er yr holl welliantau a wnawd mewn morwriaeth yn amser Cook, Ross, Parry, &c., eto, gellir dywedyd fod clefydau yn anocheladwy yn y fath amgylchiadau.

Dylem ymdrechu nid yn unig i gynal iechyd pan yn ei feddu, ond hefyd dylem wneyd ein goreu i'w adennill pan wedi ei golli. Bai cyffredin mewn dynion, pan y goddiweddir hwy gan glefyd, yw oedi y feddyginiaeth. Nid ar unwaith y mae clefyd yn dyfod i'w rym a'i addfedrwydd; ac y mae yn llawer hawddach ei orchfygu pan yn ei wendid, na phan ddelo i'w oedran a'i rym. Wrth oedi ymarfer â'r feddyginiaeth, mae dyn yn rhoddi amser i'r clefyd wreiddio trwy ei holl natur, a lledu ei geinciau trwy bob gewyn a chymal o'i gorff; ac fel hyn wrth gael amser i wreiddio, y mae llawer o glefydau yn herio y meddyginiaethau cryfaf a fedd natur a chelfyddyd; pan, ysgatfydd, ar y dechreu, y gallasai y feddyginiaeth fwyaf distadl eu troi yn ol.

Bai arall a berthyn i'r cleifion yw newid y meddyg a'r feddyginiaeth yn rhy fuan. Os cymer y claf ragor nag un dogn o'r *un* feddyginiaeth, mae yn rhyfeddod mawr. Os na fydd i hyny ei iachau, mae yn barnu bod bai ar y meddyg, neu y feddginiaeth. Y mae yn dechreu ymholi am feddyg arall; ac, yn *gyffredin*, mae ganddo ddigon o le i ddewis ei feddyg, gan fod pob cymydog ar y pryd hwnw yn troi yn *doctor*. Mynych y gwelir yr hen wrageddos, a'r *quacks* o

bob gwlad, yn cyniwair y pryd hwnw at dŷ y claf, fel y cigfrain at y gelain, a pob un yn canmol ei feddyginiaeth; ac yna mae y claf druan yn gwylltu rhwng y meddygon campus hyn, ac am *dreio* cyngor bob un ar unwaith (pe gallai), o'r hyn lleiaf, ni all gymeryd ychwaneg na dogn o bob un, gan ei frys i fyned dros y cwbl. Yn awr, pa les a all y claf gael oddiwrth y cyffyriau goreu yn y dull hwn? Ac am gynghorion dynion anwybodus, mae y rhan *fwyaf* o honynt yn *anmerthynasol*, a llawer o honynt yn *niweidiol*. Cyn y galler parotoi meddyginiaeth addas i'r claf, mae yn rhaid i'r meddyg wybod ryw gymaint am ansawdd y claf, a'r achos o'i glefyd. Y peth goreu yw i'r claf ymofyn â'r meddyg mwyaf gwybodus ar y *cyntaf*, ac yna glynu wrth ei gynghorion dros ryw ysbaid rhesymol o amser; neu, os gŵyr ei hun am ryw feddyginiaeth bwrpasol, glyned wrth hòno, a gwnaed chwareu teg â hi cyn ei throi heibio.

Bai arall a berthyn i'r claf yw anghofio effaith ymarferiad. Gwirionedd diledrith yw fod ymarferiad yn ail natur. Nid ydyw holl gyffyriau y byd mor rymus ag ymarferiad; a phan y byddo ymarferiad yn milwrio yn erbyn y gyffyriau, ofer yw dysgwyl llesâd. Y mae ymarferiad croes i natur yn ymborth i'r clefyd. Ystyriwch pa fath anfantais sydd gan y feddyginiaeth i lwyddo pan y byddo y *clefyd a'r ymarferiad* yn milwrio yn ei herbyn; ac ar y llaw arall, meddyliwch pa fath fantais sydd gan y cyffyriau i effeithio pan y byddo ymarferiad o'u tu. Ymlidiai ymarferiad, ac *ychydig* o gyffyriau addas, braidd bob clefyd dros derfynau y greadigaeth. Cofiwn nad oes dim mor ffafriol i iechyd â bywyd cymhedrol: anghymedroldeb a anmhara ac a dreulia y cyfansoddiad cryfaf yn ebrwydd. Pan yrir natur i eithafoedd ar ryw du, mae y dyn yn sicr o deimlo niwed ryw dro oddiwrth bob prinder a gormodaeth. Os benthyciwch ar natur mewn un tymor o'ch bywyd, rhaid i chwi dalu eich dyled iddi mewn tymor arall. Megys y mae miloedd yn dinystrio y peirianau cryfaf trwy anghymedroldeb, felly y mae *rhai* yn adnewyddu ac yn cryfhau cyfansoddiad gwan trwy fyw yn gymhedrol; a rhai ag oeddynt yn mron treulio eu hunain i maes trwy anghymedroldeb a meddwdod, a adnewyddasant eu nerth fel eryrod, trwy ddiwygio yn brydlawn, ac arwain bywyd cymhedrol. Gwelir hyn yn hanes

bywyd yr enwog CORNARO; yr oedd y dyn hwn wedi byw yn afradlon hyd onid oedd rhwng pymtheg ar hugain a deugain oed, pryd yr oedd ei gyfansoddiad wedi ei wanychu yn fawr; poenau gwastadol yn ei gylla ac yn ei ochr, y gymalwst, gwres a syched didor, ac arwyddion amlwg o'r darfodedigaeth trwy ei holl gorff. Pan yr oedd yn y cyflwr hwn ymgynghorodd â meddygon, a chyngorasant ef yn y modd taeraf i fyw yn gymhedrol, a rhoddasant reolau iddo i fyw wrthynt, pa beth i fwyta, pa beth i yfed, &c., a pha faint. Penderfynodd adael ei feddwdod, a dilyn cynghorion ei feddygon. Teimlodd gyfnewidiad er gwell yn fuan, a chyn pen y flwyddyn yr oedd CARNARO afiach yn berffaith iach. Gwir iddo golli y dysgleidiau breision, y gwleddoedd melusion, a'r gwirodydd poethion; ond fe gafodd well peth yn eu lle—cafodd iechyd. Mae hugan lwyd, pryd o ymborth garw, a dwfr o'r ffynon, gyda iechyd, yn fil myrdd melusach na'r gwisgoedd tecaf, y dysgleidiau brasaf, a'r gwinoedd melusaf hebddo. Felly yr oedd profiad y dyn hwn: mwynhaodd holl gysuron bywyd hyd derfyn ei oes. Dywed llawer llamhercyn meddw, "Gwell marw na byw pan y cyrhaeddir triugain neu driugain a deg; ond yr oedd y boneddwr CORNARO yn dweyd ei fod ef, pan oedd yn bedwar ugain a thair oed, yn gallu mwynhau pob pleser ag oedd yr ieuanc yn ei fwynhau: gallai fyned ar gefn ei geffyl heb help neb, dringo grisiau, a cherdded mynyddau serth ar ei draed. Yr oedd bob amser yn siriol, llawen a boddlon. Yr oedd yn gallu clywed a gweled, darllen pob math o awdwyr, a chyfeillachu â dynion o ddysg. Yr oedd yn gallu rhodio yn ei ardd a'i rodfeydd, trafod ei fasnach, a thrin ei dyddyn gystal ag erioed. Gallai farchogaeth i'r trefi o gwmpas, ac yr oedd yn medru gohebu â phrif ddynion ei oes mewn masnachu, y celfyddydau, a'r gwybodaethau. Yr oedd ei synwyrau yn eu bywiogrwydd mwyaf; medrai archwaethu ei damaid yn well nag y gallai brenhinoedd byd archwaethu eu gwleddoedd costus. Nid oedd yn teimlo un niwed oddiwrth newid ei wely, yr oedd ei gwsg yn esmwyth a'i freuddwydion yn hyfryd; yr oedd ei gôf a'i amgyffrediad mor dda fel y medrai gyfansoddi ganiadau difyrgar pan yn myned ar ei bummed ugain. Yr oedd yn mwynhau difyrwch anghyffredin wrth edrych ar ei hiliogaeth yn amlhau;

yr oedd ganddo un ar ddeg o wyrion yn ei gylchynu, ac ymddifyrai wrth glywed y rhai hyny yn canu a chanai ei hun gyda hwynt, oblegyd yr oedd ei lais yn well yn awr nag y bu erioed. Y rhai hyn, ynghyd â llawer yn rhagor, oedd y pleserau a fwynhäai y gwr hwn yn ei hen ddyddiau, a diau eu bod yn amlach ac yn rhagorach na'r pleserau a fwynhäai yn *ieuanc* ar dir anghymedroldeb. Hefyd, mae yn deilwng o'n sylw: fe barhaodd CARNARO yn y mwynhad o'r cysuron hyn nes oedd dros gan mlwydd oed, pan fu farw yn llawn o ddyddiau, ac yn y meddiant o'i holl gynheddfau. Cofiwn mai cymhedroldeb fu'r achos o'r iechyd a'r bywyd hir a fwynhaodd CORNARO, a'r cysuron lluosog a'i dilynodd hyd ei fedd. Pa beth sydd fel cymhedroldeb i ddyn; y rhinwedd hon yw mammaeth yr holl rinweddau ereill:—adferydd iechyd, estynydd bywyd, a cheidwad cymeriad. Dyma y rhinwedd enwog ddaeth â rhyddid i gaethion yr oes hon oddiwrth flys, defod, a siampl ddrwg. Y gymdeithas hon a estynodd ei dwylaw trugarog at filiynau o feddwon, ac a ddatododd eu cadwynau trymion, ac a'u dygodd i oleuni, i ryddid, ac i fwynhau holl gysuron bywyd; a dygodd rai o honynt i ryddid gogoneddus meibion Duw, i wneyd eu trigfa yn nhŷ Dduw, a chyda'i bobl a'i waith byth ac yn dragywydd. Cofied y claf mai y peth sydd yn effeithio fwyaf er drwg neu er da yw y peth y mae efe yn bwyta, yn yfed, yn gwisgo, neu yn ei ymarferyd; ac y gall y pethau hyn droi yn fywyd neu yn angeu iddo. Mae diffyg cymedroldeb ac ymarferiad addas yn dwyn anfri ar y feddyginiaeth oreu, ac yn darostwng miloedd o gyfansoddiadau cryfion a gwerthfawr i'w beddau cyn hanner eu dyddiau.

Mae yn drueni mawr fod dynion mor anwybodus o natur a rhinweddau llysiau, yn enwedig mewn cymydogaethau mynyddig, lle mae y trigolion yn gyffredin yn dlodion, a chymorth meddygol yn ddrud ac yn anhawdd ei gael. Mynych mae y tlodion yn dihoeni mewn clefyd am fisoedd pan y gallasent fod yn iach yn mhen ychydig dyddiau pe cawsent gymhorth prydlawn. Fel hyn mae rhai yn goddef cystudd hir a thrwm o eisieu arian i brynu cyffyriau, ac ereill yn teithio milldiroedd, ac yn talu yn ddrud am gyffyriau gwael, pan y mae meddyginiaeth lawer gwell yn tyfu yn eu caeau, o gylch eu llwybrau, ac yn eu gerddi.

Y mae siop y meddyg yn fynych yn mhell, a'i gyffyriau yn gyffredin yn ddrud; ond y mae siop rhagluniaeth yn agos, a'i chyffyriau yn rhad.

Mae drychfeddyliau hynod yn gyffredin gan y werinos am natur llysiau. Mae llawer yn meddwl mai yr un rhinwedd sydd yn mhob llysieuyn: maent wedi clywed son bod llysiau yn dda, ond ni ddarfu iddynt ddychymygu erioed bod gwahaniaeth rhwng un a'r llall, chwaethach meddwl bod rhai llysiau niweidiol a gwenwynig yn tyfu; ac os dygwydd i rywun fod yn glaf, rhoddant ryw llysieuyn nesaf at law iddo, a gadawant y cwbl yn llaw damwain ddall,—os dygwydd fod y llysieuyn yn taro ei glefyd, gall wneuthur da, onide gall wneyd drwg. Mae rhai ereill yn meddwl mai yn amlder y llysiau mae eu rhagoriaeth; ac os gallent gael digon o rifedi o lysiau, meddyliant y gallant wneyd gwyrthiau. Gwelais rai dan ddylanwad y dyb hon wedi casglu pob llysieuyn ac a welsent trwy yr holl gymydogaeth, ac wedi eu berwi yn nghyd i wneuthur diod i'r claf: ac yr oeddynt yn ymogoneddu yn amrywiaeth y llysiau, ac yn adrodd gydag ymffrost y gorchestion a wnaethant wrth eu casglu. Yn awr, gall fod rhai o'r llysiau hyn, mae'n wir, yn taro'r claf, ond gall fod ereill yn anmhriodol iawn iddo, a llawer o honynt yn niweidiol iddo. Heblaw hyny, mae y trwyth, wedi berwi yr holl lysiau ynghyd fel hyn, yn ddigon cryf i anifail chwaethach i ddyn, ac i ddyn wedi gwanychu gan glefyd. Fel yma, wrth geisio iachau y claf gwneir niwed iddo yn fynych, nid yn fwriadol ond mewn anwybodaeth. Er bod y genedl wedi cynyddu yn yspaid yr ugain mlynedd diweddaf yn fawr mewn amrywiol wybodaethau dyddorol iawn, ac er eu bod yn myned rhagddynt yn gyflym yn y celfyddydau a'r gwybodaethau hyd y dydd hwn, eto mae ein cenedl yn gyffredin yn hynod o anwybodus am natur llysiau a phlanhigion ein gwlad. Gwn fod llawer iawn o wybodaethau yn fwy anfuddiol, ac yn fwy annyddan: yr wyf fi wedi cael llawer o *ddifyrwch* er ys ychwaneg nag ugain mlynedd, a pheth llesâd hefyd, wrth chwilio i natur llysiau ein gwlad. Mae y wlad yn awyddus am eu hadnabod; ac nid oes dim petrusdod yn fy meddwl na byddai y wybodaeth yn ddifyrwch a llesâd i filoedd o blant Gwalia. Mae teithwyr yn dweyd nad oes un wlad ar y cyfandir yn

cynyrchu mwy o amrywiaeth a gwell llysiau na Chymru; a syna dynion gwybodus am natur llysiau, na bai y trigolion yn defnyddio mwy arnynt.

Os bydd arnoch chwant defnyddio rhyw lysiau, cymerwch y cyfarwyddiadau a ganlyn:—Os gwreiddiau a fyddant, cesglwch hwynt yn ddiweddar yn yr Hydref; golchwch hwynt yn lân mewn dwfr oer, a thorwch ymaith y manau pwdr; holltwch y rhai mwyaf, a gosodwch hwynt ar linyn yn agos i'r tân i sychu. Os dail neu flodau a fyddwch am gasglu, gofalwch am eu tori pan yn eu grym mwyaf, heb na gwlith na gwlaw arnynt; a chofiwch eu tori rhwng hanner dydd a phedwar yn y prydnawn; tynwch y dail melynion a gwywllyd oddiwrthynt, a theflwch hwynt ymaith. Rhwymwch y llysiau yn ddyrneidiau bychain, a sychwch hwynt o dan y llofft, ac nid yn yr haul, onide cyfyd yr haul lawer o'r rhan olewaidd o honynt; a pheidiwch a'u gosod yn rhy agos i'r tân ychwaith. Wedi y sychont yn dda rhwymwch hwynt yn dyn mewn papyr, fel nad elo awyr atynt. Neu, gellwch eu rhoddi mewn cydau o bapyr os byddant yn gyfain. Cofiwch, ar ol clymu y llysiau i fyny, eu cadw mewn lle eithaf sych, oblegyd unwaith yr elont yn llaith, ac y llwydont, ofer i chwi ddysgwyl unrhyw lesad oddiwrthynt fel meddyginiaeth. Hefyd dylid sylwi nad ydyw llysiau a gesglir mewn dwfr, a lleoedd gwlybion, mor rhinweddol ar ol eu sychu; ac os cedwch hwynt am ychydig fisoedd ni bydd ynddynt ddim rhinwedd; gan hyny ymdrecher eu cael yn îr pan byddo angen am danynt. Mae llawer o'r rhai hyn i'w cael yn mron trwy y flwyddyn, fel nad oes eisiau eu casglu ond fel y byddo eu heisiau: megys Llysiau yr Afu, Berw'r Ffynon, Llychlyn y Dwfr, Llydain y Dwfr, ac ereill; ceir gwraidd Ffa'r Gors trwy y gauaf, ac y mae'r gwraidd yn mron mor rhinweddol â'r dail. Y llysiau sydd yn tyfu yn y lleoedd sychaf a geidw yn eu rhinwedd hwyaf: ceidw y gwraidd yn hwy nâ'r dail, a'r dail yn hwy yn y cyffredin nâ'r blodau ond yr had geidw ei rinwedd hwyaf o bob peth. Ni cheidw y llysiau fawr ychwaneg na blwyddyn, ond ceidw yr hâd flynyddau mewn lle sych. Cofiwch fod yn fanwl yn nghylch a pethau a enwyd. Dewiswch y llysiau glasaf a chryfaf. Mae bod yn esgeulus yn nghylch y pethau hyn yn dwyn anfri yn fynych ar y feddyginiaeth oreu; a gwaeth na

hyny, mae yn twyllo y claf, nes elo ei glefyd yn rhy bell i'w feddyginiaethu. Pan y byddoch am ddefnyddio rhyw lysiau defnyddiwch y rhai mwyaf addas i'ch clefyd, o ran ei natur: gellwch osod dau neu dri, neu ychwaneg ynghyd, ag a fyddo yn taro. Cymerwch ddogn cymhedrol; dyrnaid o rai sychion sydd ddigon, llai o rai irion. Gosodwch hwynt mewn *tea-pot* o faintioli canolig, a llenwch ef o ddwfr berwedig; a phan oero, yfwch hanner peint o hono ddwywaith neu dair y dydd, a phan byddoch wedi yfed ei gynwysiad i gyd, teflwch yr hen lysiau ymaith, a gosodwch lysiau ereill yn eu lle, a dwfr berwedig fel o'r blaen. Cofiwch *stopio* y *tea-pot* yn ofalus, fel na ddiango dim agerdd. Cofiwch, os bydd dim yn dianc o'r *tea-pot*, mai prif rinwedd y llysiau a fydd. Nid oes eisiau berwi llysiau; mae y rhan oreu o honynt yn cael ei golli wrth eu berwi. Gellir cael rhinwedd pob llysieuyn, hedyn, a gwreiddyn, trwy fwydiad, heb eu berwi. Gwir fod hadau a gwreiddiau yn gofyn mwy o amser i roddi eu rhinwedd na dail a blodau; ond pa anhawsdra sydd iddynt gael hyny? Oni ellir eu gosod yn wlych yn gynt, a'u gadael yn ymyl y tân i'w cadw yn gynes am ddau neu dri diwrnod i fwydo? Y ffordd oreu a'r a wn i am dani i dynu rhinwedd hadau, gwreiddiau, rhisgl, neu ffrwythau, yw eu briwio yn fân, a'u rhoi mewn ysten bridd, a dwfr berwedig arnynt, a *chorcio* yr ystên yn dŷn, a'i rhoi mewn crochanaid o ddwfr berwedig ar y tân dros nos, a gadael y cwbl i oeri o hono ei hun tranoeth, a'i hidlo pan oero. Ni all un rhenyn o rinwedd y cyffyriau ddianc yn y modd hwn. Ar ol ei hidlo, rhoddwch ef mewn costrelau gwydr glân, a *chorciwch* hwynt yn ofalus, a chedwch hwynt mewn lle oer. Cymerwch y feddyginiaeth yn gyson a pharhaus; nid ar unwaith mae afiechyd yn cydio yn y cyfansoddiad, ac nid ar unwaith y ceir ei wared. Mae rhai wedi parhau i gymeryd yr un feddyginiaeth am fisoedd heb deimlo unrhyw gyfnewidiad neillduol er gwell, a rhai wedi parhau blynyddau; ond wrth hir ddilyn fe gafwyd gwellhad. Os oes rhywbeth yn werth llafur, gofal, manyldra, a dyfalwch yn y byd hwn, diau mai iechyd yw; ond etto, fel y mae gwaetha'r modd, nid oes dim yn cael ei ddibrisio yn waeth yn gyffredin na iechyd, ac nid oes dim ag y mae Rhagluniaeth yn cael mwy o gam yn ei gylch na

iechyd. Mynych y clywir y claf yn dweud mai yr Arglwydd a ddygodd y clefyd arno, heb un llaw ganddo ef yn ei ddygiad, fel achos; a gwaith mawr yw ei berswadio i gymeryd unrhyw foddion tuag at ei wellhad, oblegyd na wnaeth yr un achos i'w ddwyn. Gan i'r Arglwydd ei gystuddio, heb iddo ef wneud yr un achos, mae yn dysgwyl iddo ei iachau heb yr un moddion; ond erbyn edrych i mewn, nid yw y clefyd ond canlyniad naturiol anghymedroldeb. Gwir fod Duw yn cylymu clefydau wrth afradlonrwydd, fel effaith ac achos; ac y mae yr oruchwyliaeth hon wedi ei hamcanu ganddo i ddiwygio y dyn, fel cerydd am ei bechod. Dylem oll, pan y goddiweddir ni gan gystudd, ymostwng yn edifeiriol am ein bai; ystyried y wialen a phwy a'i ordeiniodd, a chofio amcan y weinidogaeth. A dylem hefyd, yn ostyngedig iawn ddefnyddio y moddion mae Duw wedi drefnu i'w symud, gan ystyried ein braint fod moddion i'w cael mor gyfleus a rhad, ar faesydd Pen-llywydd pob trugaredd. Dylem gofio nad yw yn ormod i ni, ar yr un pryd, ofyn am fendith Perchenog y moddion, ar y moddion. Ni thycia y moddion goreu heb fendith Iôr; a chyda ei fendith fawr ef gwna y moddion gwaelaf rhyfeddodau.

Cofiwn effaith ymarferiad. Pob meddyg doeth sydd yn rhoddi *cyngor* i'r claf gyda'r cyffair; a chofied y claf fod mwy o bwys yn y *cyngor* yn fynych nag sydd yn y *dogn*. Mae mwy o ddylanwad gan arferiad ar natur, nag sydd gan y cyffyriau goreu. Gwelir hyn yn amlwg ar y cleifion sydd yn myned i'r ffynonau meddygol. Nid yw ffynonau meddygol ein gwlad, yn gyffredin, ond halen, *sulphur*, a haiarn. Byddai ychydig ddognau o *Epsom Salts* yr un peth a'r dwfr hallt; ychydig ddognau o *Flour of Brimstone* yr un natur â'r dwfr sulphuredig, ac ychydig ddognau o ryw ddarpariaeth a wneir o haiarn, o siop y fferyllydd, yr un natur a llawn mor rymus â'r dwfr haiarnaidd: ond pe cymerai y claf y cyffyriau hyn, ac aros gartref, mae yn amlwg na wnelent yr un effaith, a hyny yn unig oblegyd ei fod yn yr un man, yn byw yn yr un tŷ, yn cysgu yn yr un gwely, yn gweled yr un pethau, ac yn clywed yr un lleisiau; ond pan y byddo'r claf yn myned i'r ffynonau neu'r môr, mae yn golchi ei groen yn lân mewn dwfr oer, yn mynu

crysau a hosanau newyddion wrth fyned at ddynion dyeithr; ac yna mae yn dechreu cychwyn i'w daith, yn gyffredin ar gefn ei geffyl yn mwynhau digon o awyr iachus, ac yn gweled golygfeydd newyddion bob awr; ac yn ol cyrhaedd y dwfr, yna y mae yn newid awyr, tai, gwelyau, a bwydydd, ac yn cwrdd â digon o gyfeillion llawen a siriol. Yn ol byw ychydig wythnosau yn y byd newydd hwn mae y claf yn gwella. Y casgliad yw, mai y dwfr a'i gwellhaodd, pan mewn gwirionedd mai nid y *dwfr* gymaint a wnaeth yr effaith, ond *ymarferiad newydd.* Treuliais y rhan foreuaf o'm bywyd yn ymyl un o brif ffynonau Cymru, a gwelais ugeiniau a chanoedd yn dyfod yno. Cafodd y dwfr y gair o wneuthur *gorchestion* ar rai, a gwneuthur *lles* i'r rhan amlaf o honynt; ond dyma lle yr oedd y dirgelwch, ni wnai y dwfr rhinweddol hwn ddim lles ond i ddyeithriaid. Pan y buasai rhyw anhwyldeb ar y cymydogion, yr oedd yn rhaid iddynt deithio deugain milldir i lan y mor i ymofyn meddyginiaeth; ac yr oedd yr un angharedigrwydd yn perthyn i'r môr eilwaith tuag at ei gymydogion: pan y buasai y llŵg neu rhyw anhwyldeb arall ar y rhai hyny, yr oedd yn rhaid iddynt hwy deithio dros fryniau a phantau i'r *ffynonau*, a hyny pan y byddai yr un afiechyd yn eu blino ag a flinai gymydogion y ffynonau.

Mae y ffeithiau hyn yn profi fod ymarferiad, a newid dull o fyw, yn fwy effeithiol na holl gyffyriau y byd; ond gwnai ychydig o gyffyriau ddaioni gyda rhyw ymarferiad newydd. Os achoswyd y clefyd gan fwydydd breision, neu wirodydd poethion, rhaid eu gadael. Mae bwyd gaiw gyda iechyd yn felusach na'r wledd frasaf hebddo, a dracht o ddwfr oer yn felusach gyda'r iechyd na'r gwin, a chystudd ac angen gydag ef. Neu, os ydyw yr anhwyldeb yn tarddu oddiwrth ryw gelfyddyd gaethiwus, rhaid ei gadael; gwell yw cyflog fach a iechyd, nag ennill y byd a nychu am oes. Cofiwch yr hen ddiareb, "Cynar i gysgu, cynar i godi; hyn wna i iechyd, cyfoeth, a doethineb gynyddu."

R. P.

---

## Alan bychain, Gwrthlys, Dail carn yr Ebol, Llun troed yr Ebol.—*Colt's Foot.*

Mae y llysieuyn hwn yn hoffi hen gaeau ŷd; mae pob

amaethwr, er ei fawr ofid, yn gwybod am dano: hen gaeau ŷd wedi gyru arnynt yn lled galed, a orchuddir yn gyffredin â dail y *drebol*, fel y dywedir. Mae yn blodeuo yn mis Mawrth, a hyny cyn y byddo ei ddail yn ymddangos. Mae yn hynod o dda rhag hen beswch sych a chryf, a rhag cyfyngder a gwichian yn y ddwyfron, a diffyg anadl. Yn allanol, gwna wellhau pob math o chwydd gwresog, ar unrhyw fan o'r corph, megys yr awel, y *blast*, a *St. Anthony's fire*; efe a gliria y croen oddiwrth bob math o linorod a achosir gan wres, ond golchi y manau â'i drwyth. Ei brif rinwedd yw oeri gwres, ac felly gostwng chwydd pa un bynag ai yn fewnol neu yn allanol y bo. Gellwch ddefnyddio y blodau fel *tea;* eu tori pan yn eu grym, a'u sychu, a'u cadw at eich gwasanaeth. Neu gellwch ddefnyddio y dail, a'u chwiffio fel myglys. Pe byddai y llysieuyn hwn yn cael ei werthu am arian mawr, byddai yr holl chwiffwyr pesychlyd yn mron ymdori am dano; ond gan ei fod yn rhad, ac yn gyfleus i bawb, ni wneir cyfrif o hono. Cymerwch gyngor; trowch y myglys heibio, a thorwch ddail y *drebol* pan yn eu grym; sychwch hwynt yn araf, chwalwch hwynt rhwng eich dwylaw yn fân, a rhowch hwynt mewn cwdyn papyr yn dŷn, fel nad elo dim awyr atynt; a chwiffiwch hwynt bob dydd. Bydd hyn yn dda i'ch llogell a'ch iechyd.

## Alan mawr, Dail tryfan, Dail Annon.—*Butter-bur.*

Y PETH cyntaf a welir yn tarddu o'r gwreiddyn, yw corsen gref yn noeth, heb un deilen arni, ac ar flaen y gorsen blodau o liw coch tywyll; bydd hyn yn gynar yn mis Mawrth; yn mis Ebrill bydd y gorsen a'r blodau yn gwywo ac yn darfod, a'r dail yn ymddangos yn wrol ac yn gryf; o liw gwyn odditanynt, yn llawn blew, yn mron yn grynion, yr un dull a dail Carn yr Ebol, ond eu bod beth anferthol yn fwy: os cwrddant â daear wrth ei bodd, tyfant i faintioli rhyfeddol, fel gwlaw-lèni mawrion. Maent yn tyfu mewn lle gwlyb, cysgodol, ar lan afonydd, mewn conglau ynysoedd. Mae llawer iawn o rinweddau yn perthyn i'r llysieuyn hwn; mae yn enwog i gryfhau y galon, ac i godi yr ysbrydoedd.

ac felly yn dda rhag twymynon poethion a'r plâ, ac i wrthladd gwenwyn, ac yn dda hynod rhag gwendid meddwl. Egyr rwyd-dyllau y croen, ac felly gweithia unrhyw wenwyn o'r gwaed, a iacha yr anwyd ; cynhyrfa'r dwfr a'r mislif, a lladd y llyngyr o bob math. Nid oes braidd o'i well yn tyfu i sychu hen glwyfau ag a fyddont wedi rhedeg blynyddau : sych bob hylif drwg o'r gwaed, a thrwy barhau i'w ddefnyddio am dymor, pura brif egwyddor bywyd o bob anmhuredd, a glanha y croen oddiwrth bob brychau. Cofiwch mai y gwreiddiau sydd i'w defnyddio. Gellwch eu tynu yn gynar yn y Gwanwyn, neu yn ddiweddar yn yr Hydref ; eu sychu a'u malurio yn bylor, neu eu defnyddio fel *tê*.

## Amranwen.—*Fetherfew*, *Feverfew*.

Mae y llysieuyn hwn i'w weled yn gyffredin mewn gerddi, ac o gylch tai ; dail gwyrddion, yn llawn toriadau, yn debyg i Bersli ; corsen gron, blodau gwynion fel seren, a chnap melyn yn y canol. Mae ei arogl, ei flas, a'i ddail, yn debyg i Chwerwlwys ; o herwydd paham, rai a'i galwant *Wormwood* wen. Mae yn llysieuyn hynod o iachus, ac yn feddyginiaeth rymus iawn yn holl anhwylderau y rhyw fenywaidd ; pa annhrefn bynag, a pha amgylchiad bynag y byddont ynddo, gallant fod yn eofn arno. Gwna gynhyrfu y mislif a'r dwfr, ac felly glanha yr arenau a'r cefndedyn, a rhodfeydd y dwfr, a gyr ymaith y graian a'r gareg. Hefyd, ymlid y gwynt o'r coluddion, a llaesa bangfeydd y rhefrwst *(colic)*. Mae yn awchu y cylla at fwyd, ac yn hynod o dda i iachau poen mewn pen, ac ysgafnder. Os byddwch yn teimlo oddiwrth rai o'r anhwylderau uchod, gellwch ei ddefnyddio fel *tea*, ac efe a wna i chwi les annhraethol.

## Anis.—*Anise*

Mae y llysieuyn hwn yn cael ei gadw yn y gerddi ; weithiau fe'i gwelir ef yn tyfu mewn caeau gwndwn yn agos i dai. Mae ei ddail yn asgellog, ac yn llawn o fân raniadau, er bod y dail isaf ag sydd ar y ddaear yn fwy cyfain ; nid yw y rhai hyny yn rhanu ond yn rhyw dair dalen neu bump,

yn gyffredin. Mae y cyrs yn droedfedd neu ychwaneg o hyd, yn tacnu yn fân ganghenau tua'r blaen, a blodau mân, gwynion yn duswau arnynt.

Yn yr hadau mae y prif rinwedd. Maent yn hyfryd i'r arogl, ac yn beraidd i'r archwaeth. Maent yn feddyginiaeth rymus rhag y gwynt, y eoluddwst, pigiadau yn yr ochrau, yn cryfhau y galon a'r cylla, a'r holl ranau mewnol. Nid yw dwfr yn gallu tynu fawr o rinwedd o'r hadau, gan hyny, byddai yn well prynu yr *Essential Oil*, yr hwn a geir gan ryw fferyllydd, yn weddol rad, a chymeryd o chwech i wyth diferyn ar gnepyn o siwgr gwyn, a'i lyncu gyda llymaid o ddwfr oer. Mae wedi rhoddi esmwythdra mawr i laweroedd oddiwrth arteithiau yn yr ymysgaroedd, o achos gwynt ac oerfel.

## Anhiliog.—*Barren Wort.*

Mae hwn yn llysieuyn tlws; tyfa yn naturiol yn y wlad hon, er ddim yn gyffredin. Tyfa mewn coedydd, ac mae iddo flodau gwyrddion a melynion prydferth iawn. Mae y dail yn cu dull yn hir-grwn, ar lun calon, o liw gwyrdd tywyll, a'u hymylau yn fylchog; mae y gorsen yn wan, cam, a brau: saif y blodau yn duswau ar flaen y gorsen; os bydd yn sefyll yn wyneb yr haul, anfynych y blodeua, ac erys dros flynyddau heb flodeuo. Dichon i hyn, yn gystal a'i rinweddau, achlysuru ei enw. Mewn coedydd, lle y mae yn cael cysgod a lleithder, mae yn blodeuo yn gyffredin.

Mae trwyth y gwreiddiau yn llesiol iawn i bobl ieuainc cryfion, yn enwedig merched tueddol i lewygon; dylid melusu y tê yn dda; a rhaid gofalu peidio ei wneuthur yn gryf iawn, na chymeryd llawer o hono, rhag iddo beri trymder gormodol.

## Aspygan, Llygad y Dydd.—*Daisy.*

Nid oes eisiau ei ddarlunio, oblegyd mae pob plentyn yn ei adnabod. Mae y llysieuyn hwn yn oer a thyner, ac felly yn dda hynod mewn fflamegau mewnol, ac i ddofi syched mewn twymynon poethion. Yn allanol, mae yn feddyginiaeth gyffredinol rhag pob math o chwyddiadau a chlwyfau; gwna oeri a darostwng chwydd mewn unrhyw ran o'r

corph, wrth ei roi yn sugaethan ar y fan: felly mae yn enwog i iachau hen glwyfau drewedig mewn unrhyw fan, ar y cluniau, dan y ceseiliau, ac ar fronau gwragedd, ond ei bwyo gyda hen floneg, a'i roi ar y clwyf, ei newid ddwywaith y dydd, a golchi y clwyf yn lân â llaeth a dwfr claiar wrth ei newid. Mae yn eithaf diniwed; gellwch ei roi ar unrhyw ran o'r corph heb ofni un perygl.

## Astyllenlys, Llwynhidydd, Penau'r gwyr, Traetwriaid y bugeilydd, Dail llwyn y neidr.—*Small Plantain.*

GWELIR digonedd o'r llysieuyn hwn mewn gwndwnydd sychion. Dail meinion, fel bysedd gwr, ond bod eu blaenau yn feinach, a chorsen eiddil, noeth, heb ddim dail arni, a chnap hirgrwn arni, yr un fath a dail llydain y ffordd, ond eu bod yn fyrach; nid yw y gorsen a'r dywysen fawr gyda rhychwant o hyd. Mae pobl yn fynych yn Sir Frycheiniog yn eu galw, Dail Ceiliogod; a heuir eu hadau weithiau gan yr amaethwr, yn gymysg â hadau meillion, i gael gwair a phorfa. Mae hwn yn llysieuyn defnyddiol iawn i sychu pob hylif drwg o'r corph; yn feddyginiaeth rhag y dolur rhydd, ac yn attal gwaed o'r genau, y ffroenau, y coluddion, neu'r bledren; yn dda iawn i'r dynion hyny sydd yn dueddol i gyfogi eu bwyd, ac i iachau llygaid cochion. Hefyd, mae yn dda rhag brathiad neidr. Gellwch ei ddefnyddio fel *tê*, a'i yfed wrth eich pleser. Cofiwch bod y llysieuyn hwn o natur sych a rhwymawl; ac felly nid yw yn taro pobl ag sydd o natur rwym.

## Banadl.—*Broom.*

MAE y llysieuyn hwn yn drigianydd y maes, ac yn adnabyddus i bawb. Er mor ddiystyrllyd yw hwn gan amaethwr, mawr yw ei rinweddau meddygol. Nid oes gwell llysieuyn yn tyfu rhag y dyfrglwyf na hwn; mae wedi gwneyd rhyfeddodau yn yr anhwyldeb cyndyn hwn droion. Mae yn arllwys pob math o hylif llysnafeddog a dyfrllyd o'r corph, yn iachau y cymalwst, y glynwst, a phob math o boenau y cymylau, poen yn yr ochrau, chwydd y ddueg; yn

glanhau y cefndedyn, yr arenau, a'r bledren, ac yn cynhyrfu y dwfr. Dywedir fod y powdr a wneir o'r dail a'r had, a'i gymeryd am dymor, yn gwella y clefyd du, a bod isgell o frigau Banadl ac Ysgol Fair, yn iachau y cryd a'r mwyth, ond ei yfed ychydig cyn y *fit*, a gorwedd yn y gwely i chwysu. Mae yr olew a dynir o'r brigau îr yn gwella y pigiadau a'r gloesion mwyaf poenus yn yr ochrau, wrth ei iro ynddynt yn gynes unwaith neu ddwy.

## Banadlos, Y Banog, Dewbanog, Banog hanner-pan, Tapr dunos, Tapr Mair, Sircyn y melinydd, Dail y melfed, Clust y fuwch, Clust y tarw, Canwyll yr adar.—*Mullein, Torch weed, or High taper.*

Llysieuyn hir ac uchel ydyw, ac arno lawer o ddail gwynion, gwlanog, blaenfain, a'u hymylau yn fylchog, ac arno flodau melynion mawrion yn fath o dywysenau. Mae y cyrs yn tyfu 4 neu 5 troedfedd o hyd, y dail agos yn cuddio y gorsen. Mae yn tyfu ar gloddiau, a lleoedd sychion. Dau neu dri yn unig o'r blodau sydd yn agoryd ar unwaith; hadau bychain llwydion sydd iddo, yn cael eu ffurfio mewn penau crynion yn mlaen y blodau. Mae iddo wreiddiau hirion gwynion, y rhai sydd yn darfod wedi i'r hadau addfedu. Mae trwyth wedi ei wneuthur o wreiddiau y llysieuyn hwn, yn llesiol i ddofi y cwlwm gwthi *(cramp)*, dirdyniadau, a hen beswch. Ond ei droi yn y genau dros ychydig amser, gwna esmwytho y ddanodd. Defnyddir ei ddail hefyd; y dail goreu yw y rhai sydd yn tyfu oddiar y gwraidd, cyn y byddo i'r cyrs ymddangos. Mae trwyth o honynt yn dda i reoleiddio y mislif, atal llifiad y gwaed, poeri gwaed, &c. Wedi eu berwi mewn llaeth, gwnant blastyr rhagorol i'w osod wrth glwyf y marchogion a chwyddiadau poenus ereill. Mae ei drwyth yn agor y llwybrau trwy y bledren a'r arenau, yn tyneru chwydd, ac yn dofi poethder yn y gwddf. Mae sudd y dail a'r blodau, ond ei osod ar ddafadenau geirwon *(warts)*, yn eu cymeryd ymaith yn fuan: gwna powdr wedi ei wneuthur o'r gwreiddiau sychion yr un peth; ac mae yn feddyginiaeth ragorol rhag poen yn y bol, a rhag y coluddwst *(colic)*. Mae plastyr o'r hadau a'r

dail wedi eu berwi mewn gwin, neu wedi eu mwydo yn dda mewn gwin poeth, yn beth rhagorol i dynu drain ac asglod coed allan o'r cnawd, a iachau y lle dolurus. Mae yr hadau wedi eu hysigo a'u berwi, neu eu mwydo mewn gwin, a'u gosod ar aelod a fyddo wedi myned o'i lle, yn effeithiol neillduol i ostwng y chwydd, a dofi poen ynddi.

## Beatws.—*Beet.*

Mae y planhigyn hwn, yr hwn sydd yn gyffredin yn ein gerddi, yn dda i'w fwyta, ac hefyd i'w gymeryd fel meddyginiaeth. Nid yw yr un coch mor rinweddol â'r un gwyn. Maent yn tyfu i dair neu bedair troedfedd o uchder. Mae cyrs y Beatws gwynion cyffredin yn fawrion, ac arnynt linellau fel asenau: mae arnynt gnwd mawr o ddail llydain tònog, agos hyd flaen y gorsen. Mae y blodau o liw gwyrdd, yn tyfu yn fath o dywysenau, bychain yn y blaen, y rhai ydynt yn plygu i lawr, ac yn rhoi hadau onglog pigog. Mae y gwreiddyn yn fawr, hir a chaled; ac ar ol iddo hadu, nid yw y llysieuyn dda i ddim. Mae sudd y gwreiddyn yn feddyginiaeth ragorol rhag poen ac ysgafnder yn y pen, a'r ddannodd, hyd yn nod pan fyddo yr holl ên yn ddolurus; mae i'w gymeryd i fyny i'r ffroenau i beri tisian *(sneezing).* Mae y sudd, ond ei roi wrth yr arleisiau, yn dofi poethder yn y llygaid. Mae yn llesiol nodedig hefyd i iachau y Tân Iddwf *(St. Anthony's Fire).* Gwna ei drwyth, ynghyd ag ychydig ddwfr a finegr, wella'r crafu, a phob math o grach yn y pen, ond ymolchi ynddo; mae hefyd yn llesiol i archollion digofus a gwlybion yn y pen, y coesau, neu ranau ereill o'r corph; a dywedir ei fod yn dda i gadw y gwallt rhag syrthio.

## Benboeth, Llysiau'r dom.—*Arsmart, Peachwort.*

Mae y llysieuyn hwn yn adnabyddus hefyd yn ein gwlad ni wrth yr enwau Llysiau'r dinboeth, Shinsir y gors; ac y mae ei flodau yn ein gwlad ni yn felynion. Llawer o wragedd a wasgant ei sudd i'r caws i'r dyben o'i wneuthur yn fwy gwresog. Mae yn llysieuyn tra rhinweddol, ac yn hawdd i'w gael yn mhob man lle y byddo naws dwfr. Mae yn llysieuyn gwyllt ag ynddo rinweddau gwerthfawr, ond

a esgeulusir yn fawr o herwydd anwybodaeth o'i natur. Mae yn tyfu yn gyffredin mewn cloddiau gwlybion, llcoedd a arferant fod yn sych yn yr Haf. Mae yn nghylch troedfedd a hanner o uchder; y cyrs yn weinion, cymalog, o liw gwyrdd neu gochlyd. Mae y dail yn gryn fawrion, yn dyfod allan o gymalau cochion y gorsen, cyffelyb i ddail y pren *peach*. Saif y blodau ar flaenau y cyrs yn dywysenau meinion, o liw gwyrdd goleu. Tyr y blodau allan yn Mehefin, ac addfedant yn Awst. Gan fod amrywiol o fathau o'r llysieuyn hwn, gwahanol yn eu nhatur a'u rhinweddau, dylid bod yn ofalus iawn i gasglu yr un priodol. Mae yr un mwynaidd yn feddyginiaeth ragorol i rwyddhau rhediad y dwfr, i wella'r graianwst a chlefyd y gareg, a'r clefyd melyn. Mae yn dda i wella cornwydon, a fflameg a phoethder, ond ei ddefnyddio yn eu dechreuad. Mae yn llesiol iawn hefyd yn y dyfrglwyf, ond ei ddefnyddio yn nechreuad y dolur peryglus hwn. Sudd y llysieuyn, yn fuan wedi y torir ef, sydd fwyaf effeithiol. Oddiallan mae yn dda iawn i lanhau hen weliau ar ddyn neu anifail, ac i ladd pryfaid. Mae yn dda hefyd i symud unrhyw chwydd a fyddo wedi ei achosi gan oerfel, ac i buro gwaed drwg a fyddo wedi casglu o herwydd briwiau, ergydion, cwympiadau, &c. Mae yn fuddiol i ddyfetha pryfaid yn y clustiau, ond ei ddiferu iddynt. Gwna y llysieuyn hwn, ond ei wasgaru mewn ystafell, ymlid ymaith y creaduriaid bychain anesmwyth hyny a elwir chwain; ni allant fyw yn ei ymyl. Ond gosod y rhywogaeth oer o'r llysieuyn hwn, neu ei sudd, wrth archoll anifail, gwna gadw ymaith y clêr yn nhywydd poethaf yr Haf. Nid yw y rhywogaeth boeth o hono yn tyfu mor uchel â'r un mwynaidd, ond mae iddo lawer o ddail o liw y pren *peach* heb frychau arnynt ond yn anaml iawn. Gellir ei adnabod yn hawdd oddiwrth y llall, ond tori un o'i ddail a'i thynu dros y tafod: gwna yr un poeth i'r tafod losgi, ond ni wna y llall. Ond gweled y ddau gyda'u gilydd mae yn hawdd eu gwahaniaethu, o herwydd mae dail yr un mwynaidd yn llawer lletach na dail y llall.

**Benddu, Llysiau'r gynddaredd.**—*Cud-weed*, *Cotton-weed*, *Chaff-weed*, *Dwarf cotton*, *Petty cotton.*

Llysieuyn gwyllt cyffredin yw hwn; anfynych y tyfa i

droedfedd o hyd. Nid oes iddo yn gyffredin ond un gorsen, weithiau dwy a thair: nid yw y gorsen yn fraisg; mae o liw gwyn; mae yn wydn a syth, ac arni lawer o ddail o wahanol faintioli, o liw goleu, o tua chanol y gorsen hyd y pen. Yn ymyl pob dalen saif blodau bychain llwyd-felyn; neu ddim mor felyn â'r lleill. Mâe mathau ereill o hono, ryw ychydig yn llai nâ'r un dan sylw, a'u dail ychydig yn fwy gwelw ac agored.

Mae yn tyfu yn gyffredin mewn tir sych, diffrwyth, a thywodlyd. Arfera flodeuo ym Mehefin, ac mae yr hadau yn addfedu yn Awst. Mae y llysieuyn hwn yn tueddu i rwymo a sychu, ac felly yn rhinweddol i attal lliflyn y pen, clefyd y gwaed, neu ei rediad mewn unrhyw le, ond yfed ei drwyth neu gymeryd powdr a wneler o hono. Mae yn dda i iachau clwyfau allanol neu fewnol, ysigdod, neu i ladd llyngyr. Ond ei yfed neu ei chwistrellu i mewn, mae yn effeithiol iawn i esmwythau yr ymysgaroedd pan deimler cymelliad mynych i fyned i'r ystol heb allu carthu dim allan. Mae y dail ir wedi eu hysigo a'u gwneuthur yn blastyr, yn nodedig i atal y gwaed i redeg o archoll newydd ei gwneuthur, ac i'w iachau. Dywed Pliny fod sudd y llysieuyn hwn, ond ei gymeryd mewn gwin a llaeth, yn feddyginiaeth anffaeledig, braidd, rhag chwydd yn y cernau, y bochau, a'r gwddf, ac na bydd i'r rhai a'i cymeront gael eu blino gan y clefyd hwnw eilwaith.

## Bawm, Gwenynddail, Gwenynog, Llysiau Gwenyn. - *Balm.*

Mae y llysieuyn hwn yn un o breswylwyr yr ardd, ac yn ddigon adnabyddus i bawb, fel nad oes eisiau ei ddarlunio. Mae yn dda hynod i gryfhau natur a fyddo wedi llesgau, yn adfywio'r meddwl, yn llawenhau y galon, ac yn feddyginiaeth rymus rhag llewygon, yn gyru ymaith feddyliau a dychymygion pruddglwyfus, ac yn peri cwsg esmwyth trwy yru ymaith darth afiach o'r ymenydd, yr arteriau, y galon, a'r gwaed. Yn allanol, a'i friwio yn ir gyda halen, gwellha bob math o chwydd caled yn y cnawd; ac fe lanha hen glwyfau pwdr, ac a esmwytha y gymalwst. Mae yn llysieuyn hollol ddiniwed: gellwch ei ddefnyddio fel *tea*, ac efe a wna i chwi lawer o les.

## Benfelen, y Greulys.—*Groundsel.*

Chwyn cryn adnabyddus yw hwn, yn nghylch wyth modfedd o uchder: y gorsen yn werdd a llwydaidd, tua'r pen yn agor yn ganghenau, ac arni ddail culion gwyrddion, a'u hymylau yn fylchog, rywbeth yn debyg i ddail derw, ond yn llai, ac yn grynion yn y blaen. Blodau melynion bychain sydd iddo, yn tyfu mewn math o gwpanau hirion yn mlaen y gorsen a'i changhenau. Bychan iawn yw y gwreiddyn, a derfydd yn fuan; ond cyfyd y llysieuyn cyn hir eilwaith oddiwrth yr hadau a syrthiant oddiar y cangau, fel, os caiff lonydd, y gellir ei weled, o leiaf, ddwywaith yn y flwyddyn, yn blodeuo ac yn hadu.

Tyfa ar ben hen furiau, wrth eu gwaelod, ar hen garneddau, ac yn enwedig mewn gerddi. Dywedir ei fod yn feddyginiaeth ragorol rhag unrhyw glefyd y byddo gwres wedi ei achosi, yn mha ran bynag o'r corph y byddo, a gellir ei ddefnyddio gyda diogelwch mawr. Pair chwydiad os bydd y cylla yn annhymerus; os na, gweithia fel carthiedydd mwynaidd ac araf. Mae yn rhinweddol i ddofi gwres gormodol yn y rhanau mewnol: gweithia yn nerthol a chyflym. Ond cymeryd ychydig o'r sudd mewn gwin, gwna les i symud y clefyd melyn, ac i rwyddhau rhediad y dwfr; mae yn effeithiol iawn i weithio ymaith y graian o'r arenau. Mae plastyr wedi ei wneuthur o'r llysieuyn wedi ei ferwi, yn beth rhagorol i iachau poen, chwydd yn mronau gwragedd, neu mewn unrhyw le arall ar gorph dyn neu ddynes. Gwna dwfr distylledig o'r llysieuyn hwn y gwelliadau a nodwyd llawn cystal, yn enwedig poethder yn y llygaid a fyddo wedi ei achosi gan rediad gormodol llynoedd y pen iddynt. Byddai isgell y llysieuyn yn dda iawn i'w roi yn uniongyrchol ar ol cael anwyd; byddai yn debyg o'i weithio ymaith, oblegyd mae yn garthiadawl, chwysawl, a chyfogawl: ond ni ddylid ei roddi yn fewnol i ddynion gweinion. Mae yn dda hynod a'i guro am ben hen floneg hyd oni byddo yn eli, i'w roi wrth bob math o chwydd a chornwydydd, ac i dori y *felon.*

## Bengaled.—*Knapweed.*

Mae y llysieuyn hwn yn driganydd y maes gwyllt, yn tyfu mewn hen wndwnydd sychion, ac ochrau caeau ŷd. Mae

iddo lwyn o ddail llwydion hirion blewog, ac os bydd y ddaear yn weddol o frâs, maent yn rhwygiadau i'r asen ganol, ond ar dir llwm nid oes ynddynt ddim toriadau. Mae amrywiol lysiau o'r genhedlaeth hon yn gwahaniaethu fel y byddo y tir. Mae ei gyrs yn grynion ac yn gelyd; ac oblegyd eu caledwch, maent yn cael eu gadael ar ol gan yr anifeiliaid. Gwelir hen lwyni o Bengaled wedi crino ar y caeau yn yr Hydref. Mae y blodau yn ymagor mewn math o ben crwn du o liw porphor. Meddyliaf fod pob un yn ei adnabod yn awr; ond y pwnc nesaf yw ei rinwedd. Mae yn llysieuyn tra rhinweddol i attal pob math o lifiadau o'r corph, yn attal gwaed o'r genau neu'r ffroenau, ac yn feddyginiaeth hynod rhag y dolur rhydd. Y ffordd i'w ddefnyddio yw rhoddi dwfr berwedig arno, a'i yfed fel tê. Yn allanol fe iacha archollion hen a diweddar, fe attal waed o archoll newydd, ac fe sych hen glwyfau ar y coesau, trwy yfed ei dê, a'i osod yn sugaethan ar y clwyf.

### Berwr yr ardd.—*Garden Cresses.*

Planhigyn cyffredin mewn gerddi, yr hwn a godir i'w ddefnyddio fel bwyd-lysiau. Mae tua dwy droedfedd o uchder; y gorsen yn gron a chref, o liw gwyrddlas, ac arni flodau bychain gwynion. Y dail sydd yn codi oddiar y gwraidd a fwyteir; mae y dail hyn yn fawrion; byddai bwyta llawer o honynt yn llesiol iawn i buro y gwaed, a gwella'r clefri poeth *(scurvy)*.

### Berwr y Dwfr, Berwr y Ffynonau.—*Water Cresses.*

Mae y llysieuyn hwn yn driganydd y maes gwyllt, yn hoffi ffynonau a phyllau o ddwfr gloyw: corsen bedair ochrog, a dail bychain yn llawn bylchau a thoriadau, a blodau mân yn dyfod allan tua blaen y gorsen o liw gwyn. Mae hwn yn hynod o iachus i'w fwyta yn y Gwanwyn a'r Haf; yn awchu y cylla, yn cryfhau yr ymysgaroedd, yn glanhau y gareg o'r arenau, yn puro y gwaed, ac yn gwella y llwg *(scurvy)*. Pawb a ewyllysiont gael iechyd da yr Haf, dylent fwyta llawer o hono yn y Gwanwyn, i yru ymaith effeithiau drwg y Gauaf. Gellwch ei ddefnyddio y ffordd y mynoch: byddai cawl o hono yn rhinweddol iawn i'r dybenion a nodwyd.

## Berwr y Fam, Berwr y Fammog, Berwr y Torlanau, Berwr Caersalem, Berwr y Gauaf.—*Winter Cresses, Rock Gentle, or Rock Gallant, Carlock.*

Mae corsen y llysieuyn hwn o liw gwyrdd du, yn wydn, yn hawdd i'w phlygu ond ddim i'w thori; egyr yn amrywiol o ganghenau. Mae iddo weithiau amrywiol o gyrs, a'r rhai hyny yn llawn canghenau, ar y rhai y tyf dail hirion geirwon, a'u hymylau yn fylchog iawn gan mwyaf, o liw gwyrdd gwan. Mae blodau melynion bychain iddo, yn tyfu yn y dywysenau hirion ar flaen y cyrs, ac yn tori allan yn raddol. Mae hadau ar fôn y gorsen pan fo blodau ar ei blaen. Mae i'w weled yn gyffredin yn ymyl cloddiau, ac weithiau mewn meusydd: blodeua tua mis Gorphenaf.

Mae yn feddyginiaeth ragorol yn holl anhwylderau y ddwyfron a'r ysgyfaint, a chrygni: mae rhai, trwy yfed ei drwyth dros ychydig o amser, wedi cael adferiad i'w llais pan wedi ei golli yn llwyr, a'u hysbrydoedd wedi myned yn llwyr hefyd. Mae ei sudd, wedi ei wneuthur yn gyflaith *(syrup)*, gydag ychydig o fêl a siwgr, yr un mor effeithiol i'r dybenion hyn, ac i wella peswch a diffyg anadl. Mae *clyster* wedi ei wneuthur o hono yn beth rhagorol i wella'r clefyd melyn, yr eisglwyf, poen yn y cefn, y lwynau, y bol, ac i esmwytho y coluddwst. Dywedir fod ei hadau yn feddyginiaeth nodedig rhag gwenwyn, a phoen y cymalau. Nid oes gwell llysieuyn yn tyfu na hwn i buro y gwaed, yr hwn yw prif egwyddor bywyd, ac felly i weithio allan o'r cyfansoddiad bob afiechyd teuluaidd, megys y manwynion, a hen glwyfau a fyddo yn y coesau, ac i awchu y cylla at fwyd. Mae digon o hono i'w gael ddechreu yr Haf mewn hen gaeau llafur, a llawer ormod yn ol barn yr amaethwr, gan ei fod ymron mogi yr egin weithiau. Y mae yn eithaf diniwed gellwch fod yn eofn arno.

## Blodau ammor.—*Amaranthus, or Love flower.*

Gan ei fod yn tyfu mewn gerddi, adwaenir ef yn gyffredin. Mae ei gorsen yn fraith, tua throedfedd a hanner o hyd, yn gochlyd tua'r bôn, yn llyfn, ac yn ymranu tua'r pen yn ganghenau bychain. Mae arni ddail llydain gwyrddgoch;

mae y blodau yn brydferth iawn, yn sypynau gyda'u gilydd, yn gochlyd, ond heb arogl. Ond eu hysigo ceir sudd o honynt o'r un lliw; eadwant eu lliw dros gryn amser wedi eu casglu; y blodau yn ddu a dysglaer. Mae yn parhau yn ei flodau o Awst hyd nes ei orchfygu gan y rhew. Gwna y blodau attal y gwaed i redeg o'r trwyn neu archoll; gwellhant hefyd glefyd y gwaed.

## Blodau y brenin.—*Peony.*

BLODEUYN cyffredin mewn gerddi, defnyddiol yn gystal a hardd iawn. Nid y rhai cyffredin dwbl yw y rhai a ddefnyddir fel meddyginiaeth—gelwir y rhai hyn yn rhai benyw; y rhai gwrryw, i'r rhai y mae dail sengl, yw y rhai priodol. Maent yn tyfu tua dwy neu dair troedfedd o uchder; y gorsen yn gron, rhychiog, a changenog; y dail o liw gwyrdd tywyll, y blodau yn fawrion, glasgoch, yn dyfod allan yn mlaenau y cyrs, yn gynwysedig o bump neu chwech o ddail llydain, ac amrywiol o edafedd melynion iddynt. Tyr y blodau allan tua Mai.

Mae i'r rhai menywaidd yr un rhifedi o gyrs, a mwy o ddail arnynt na'r rhai gwrrywaidd; y dail yn llai, ac yn fylchog. Mae arogl cryf iawn gan y blodau, maent yn llai ac yn fwy glasgoch nac eiddo y llall. Bernir mai y rhai gwrrywaidd sydd oreu i wrrywiaid, a'r menywaidd sydd oreu i fenywod, ac mai y gwreiddiau sydd fwyaf rhinweddol, yn nesaf y blodau: ac, yn olaf, y dail. Mae trwyth wedi ei wneuthur o'r gwreiddiau, trwy roi dwfr berwedig arnynt, yn rhinweddol iawn i wella'r gloesion *(falling sickness)*, ond ei gymeryd y peth olaf y nos a'r cyntaf y boreu dros amrywiol o ddyddiau, cyn ac ar ol llawn lloer.

## Brenhinllys Dof.—*Garden Bazil or Sweet Bazil.*

LLYSIEUYN bychain yw hwn, a berthyna yn naturiol i wledydd mwy cynes, ond sydd anaml yn ein gerddi ni. Nid oes iddo yn gyffredin ond un gorsen; ac arni amrywiol o ganghenau, dwy ddalen yn mhob cymal o liw glas goleu, o holltiadau bychain yn yr ymylau; a blodau gwynion bychain iddo, yn sefyll ar flaen y cyrs, yn dywysenau hirion. Mae y gwreiddyn yn darfod yn nechreu y gauaf, ac felly

rhaid ei hau o newydd bob blwyddyn; ni wiw ei hau yn gynar gan mai llysieuyn tyner ydyw. Mae i'r holl blanhigyn arogl hyfryd neillduol. Mae trwyth wedi ei wnenthur o'r llysieuyn hwn yn îr, yn beth rhagorol iawn i symud rhwystrau yn yr ymysgaroedd a llwybrau y dwfr, ac i symud y clefydau a achosir gan y rhwystrau hyn. Mae plastyr o hono yn effeithiol iawn i sugno gwenwyn o gnawd ar ol rhwygiad cacwn, &c. Dywedir na wna efe a'r *Rue* dyfu yn ymyl eu gilydd: mae y *Rue* yn gymaint gelyn i wenwyn ag un llysieuyn ag sydd yn tyfu.

## Bloneg y Ddaear, Rhwymyn y Coed, Eirin Gwion, Grawn y Perthi, Pederau'r Gath, y Winwydden Wyllt, Pys y Coed, Erfinen Fair —*Briony*.

Mae y llysieuyn hwn yn un o drigianyddion y maes, ac yn hoffi y perthi. Mae ei gorsen yn dyner a gwanaidd, yn cordeddu ac yn ymgynal wrth y berth—y dail yn fawrion —blodau gwynion, pump dalen yn mhob un, fel seren, a chnwd da o rawn yn dyfod allan tua blaen y gorsen, yn gochion pan yn addfed. Mae y gwreiddyn yn wỳn, yn fras, ac yn fawr, a gorchwyl lled anhawdd yw i chwi fyned yn îs nag ef. Mae y llysieuyn hwn yn rhy beryglus i'w gymeryd yn fewnol, heb i ryw feddyg gwybodus ei lareiddio â rhyw gyffyriau ereill. Ond, yn allanol, gwna rhyfeddodau mewn hen boenau cyndyn, ac ysigiadau, gwaew yn y cymalau, oddiwrth anwyd; mae yn gwella hen glwyfau aflan, y cornwyd gwyllt, y crach, a'r gwahanglwyf. Y ffordd oreu i'w ddefnyddio, yw iro y manau ag y byddo gwaew ynddynt â darn o'r gwreiddyn, a phwyo ychydig o hono gyda bloneg i'w roi ar hen glwyfau. Mae sudd y grawn, pan yn addfed, yn gwella y darddwden ar y croen, wrth ei iro ynddo.

## Bresych yr Yd, Mwstard Gwyllt.—*Wild or Hedge Mustard.*

Mae y gorsen yn droedfedd, ac weithiau yn ddwy droedfedd, o hyd, ac arni ddail geirwon ac iddynt ymylau bylchog, yn



*Wood Sorrel*



*[illegible]*



*Violet*



*Spikenard*



*Tansey*

debyg i ddail erfin ; ond gan ei fod mor adnabyddus, ac yn ein gerddi, ni raid bod yn fanol yn y darluniad o hono. Mae ei wreiddiau yn fychain, ac yn darfod bob blwyddyn. Mae y llysieuyn hwn yn tyfu mewn hen gaeau llafur a fyddo yn mron eu gyru maes ; ac weithiau yn goresgyn yr holl gae. Maent yn llai o faintioli na Mwstard y gerddi, a'r dail yn arwach. Maent yn blodeuo yn gynar yn mis Mehefin, nes y bo yr holl gae yn ymddangos yn felyn ganddynt. Nid oes gwell llysieuyn yn tyfu na hwn, i buro'r gwaed yn nechreu'r hâf, ac i arllwys o'r corph bob hylif drwg ; i sychu hen glwyfau ag y fyddo yn rhedeg, i ymlid ymaith bob math o wanegon o'r coluddion, yr ochrau, y cefn, a'r cymalau. Mae yn awchu y cylla at fwyd, yn gwella y peswch a'r crygni mwyaf cyndyn, pe bai y llais wedi ei golli yn lân. Mewn gair, mae yn rhoi bywyd a hwyl newydd i'r hen gyfansoddiad fyddo wedi methu. Torwch y brig a'r blodau ymaith, a defnyddiwch eu tê.

Mae plastyr o'r hadau yn beth effeithiol rhyfeddol i dynu darnau o esgyrn a phethau cyffelyb o'r cnawd. Mae yr hadau yn llesiol iawn i symud ymaith drymder yr hunglwyf, ond eu defnyddio yn fewnol neu yn allanol, rhwbio yr arleisiau a'r talcen â hwynt ; maent hefyd yn bywhau yr ysbrydoedd, ac yn puro yr ymenydd trwy beri tisian. Maent hefyd yn tynu i lawr lynoedd glydiog ag sydd yn disgyn ar yr ysgyfaint a'r ddwyfron ac yn peri peswch, ond eu cymeryd yn gymysgedig â mêl. Mae trwyth o'r hadau, wedi ei wneuthur â gwin, yn cynhyrfu y dwfr, ac yn gwrthwynebu gwenwyn, ond ei gymeryd yn brydlon. Mae yn cyfnewid, lleihau, ac yn gwella pangau oerion y cryd, ond ei gymeryd ychydig cyn y dechreuont. Gwna esmwytho clefyd y ddueg, a phoen yn yr ymysgaroedd. Ond ei droi yn y genau, gwna adferyd yr archwaeth pan fyddo wedi ei golli : oddiallan, gwna ostwng chwydd yn y gwddf ; mae hefyd yn llaesu poen yn y cymalau. Defnyddir ef hefyd yn aml i godi chwysigl *(blister)*, er esmwytho poen yn yr ochrau, y lwynau, yr ysgwyddau, a rhanau eraill o'r corph Mae yn effeithiol iawn i atal y gwallt i syrthio ymaith, ac i symud sythdod o'r gwddf. Mae dwfr distylledig y llysieuyn hwn pan yn ei flodau, yn cael ei yfed yn aml i iachau y clefydau a nodwyd, ac i olchi y genau pan byddo yr archwaeth wedi ei golli.

## Briallu, Dail y Dewbanog.—*Primroses.*

Mae y llysieuyn hwn yn gyfaill mawr i'r gewynau ; felly, os bydd gwendid a chryndod mewn aelod, gwna ddaioni annhraethol. Byddai yn dda i ddynion sydd yn dueddol i'r parlys ei ddefnyddio yn fynych. Hefyd, mae yn dda rhag pigiadau yn yr ochrau, os cymerwch ddyrnaid o'r llysieuyn hwn, a'r un faint o chwerwlys (*Wormwood*), a'u rhoi ar y tân, rhwng dwy lechen gareg, nes y poethont yn dda, a'u rhoi yr ochr y byddo poen ynddi, a gorwedd arnynt yn y gwely ; os gwynt fydd yno, byddant yn sicr o'i chwalu, ond os fflameg (*inflammation*) fydd yno, ychwanega y poen ; ac felly bydd raid i chwi ymofyn am feddyginiaeth arall.

## Brigau y Twynau, y Felynllys, Llysiau'r Cower.
—*Cheese Runnet*, *Lady's Bedstraw*, *Wild Rosemary*.

Mae i'r llysieuyn hwn amrywiol o gyrs, llwyd-ddu, sythion, tua llathen o hyd. Maent weithiau yn tori allan yn amrywiol o ganghenau, allan o gymalau, ac amrywiol o ddail teg ar bob un o honynt. Yn mlaenau y canghenau tyfa llawer o dywysenau o flodau melynion agos iawn i'w gilydd, o'r cymalau, yn bedair dalen bob un, ac iddynt arogl cryf, ond ddim yn anhyfryd. Hadau duon bychain sydd iddo, yn un a'u gilydd, yn gyffredin. Mae y gwreiddyn yn goch, ac wrtho lawer o edau bychain, y rhai a gymerant afael gadarn iawn yn y ddaear. Plyga y canghenau ychydig tua'r ddaear, a chymer y canghenau wraidd, trwy yr hyn y mae yn cynyddu yn rhwydd. Mae yn tyfu mewn lleoedd sychion a gwlybion, ac yn ymyl cloddiau. Mae yn gyffredin yn blodeuo yn Mai, ac yn hadu yn Gorphenaf ac Awst.

Mae trwyth o hono yn effeithiol iawn i dori a symud y gareg, i gynhyrfu y dwfr, i atal gwaed o'r tu fewn, a iachau archollion mewnol. Mae y llysiau, neu y blodau, wedi eu hysigo a'u gosod yn y ffroenau, yn eu hatal i waedu. Ond defnyddio y trwyth yn dwym, ac iro y cymalau wedi hyny ag enaint, gwna hyny wella'r crach a'r crafu ar blant ; ac mae y llysieuyn a'r blodau gwynion yn rhyfeddol o dda at ystwytho y gewynau, y gwythi a'r cymalau, a'u cryfhau ar ol blinder trwy deithio.

Mae math arall o'r llysieuyn hwn ag sydd yn gryn gyffredin, yn dwyn blodau gwynion, fel y mae yr un a nodwyd yn dwyn rhai melynion; mae ei ganghenau mor weinion, fel, oddieithr iddynt gael eu cynal gan y perthi, gorweddant ar y llawr. Mae dail hwn ychydig yn fwy na rhai yr un a nodwyd: nid yw ei flodau gwbl mor aml; mae rhinweddau y naill a'r llall yn gyffelyb.

## Briw y March, Cas gan Gythraul, Llysiau'r Hudol, y Dderwen Fendigaid, y Ferfaen.—*Vervain.*

Mae y llysieuyn hwn yn un o breswylwyr gwyllt y maes, ac i'w ganfod yn fynych yn ymyl llwybrau ac ochrau ffyrdd, dail lled fawr, yn llawn bylchau a thoriadau, yn debyg i ddail derw; corsen eiddil yn rhanu yn fân ganghenau tua'r blaen; tua blaen y canghenau mae blodau bychain yn dyfod allan o liw glaswyn; nid yw yr holl blanhigyn yn ein gwlad ni yn gyffredin ond prin troedfedd. Mae y llysieuyn hwn yn enwog mewn rhinweddau; yn feddyginiaeth rymus yn anhwylderau y rhyw fenywaidd trwy ei effeithiau sych a chynes; mae yn agor rhwystrau, yn glanhau ac yn iachau yr holl gyfansoddiad: yn gwella y clefyd melyn, y dyfrglwyf, a'r gymalwst, ac yn lladd llyngyr. Mae y llysieuyn hwn yn puro a bywiogi prif egwyddor bywyd, sef y gwaed, a thrwy hyny yn cryfhau y cylla, yr afu, y ddueg, yr arenau, a'r bledren, yn esmwythau y diffyg anadl a'r peswch, ac yn treulio y gareg o'r bledren: ond yn nghlefyd y brenin mae efe yn gwneud rhyfeddodau, trwy weithio o'r gwaed yr hylif a'i hachosa. Byddai yn dda ei osod yn bwltis wrth y clwyfau yn allanol; mae yn dda hefyd rhag brathiad nadredd a phob creadur gwenwynig, yn dda rhag clefydau cydiadol a'r cryd; y ffordd oreu i'w ddefnyddio yw ei yfed fel tê. Mae yn hollol ddiniwed, ac yn llysieuyn iachus i bawb. Gellwch fod yn eofn arno. Tywelltwch chwart o ddwfr berwedig ar ddyrnaid o hono, ac yfwch ef wrth eich pleser.

Mae y dail wedi eu hysigo, neu ei sudd wedi ei gymysgu â finegr, yn rhinweddol iawn i lanhau y croen, a symud ymaith frychau a chornwydon, neu unrhyw anffurfiwch cyffelyb a fyddo ar y croen ar unrhyw ran o'r corph. Mae

dwfr distylledig y llysieuyn hwn pan yn ei lawn nerth, ond ei ddiferu i'r llygaid, yn eu glanhau oddiwrth bilenau, cymalau, a niwl a fyddo yn tywyllu yr olwg, ac yn nodedig i gryfhau gewynion y llygaid. Mae y dwfr a nodwyd yn rhinweddol i iachau y clefydau a enwyd, ond ei ddefnyddio naill ai yn fewnol neu yn allanol, pa un bynag a fyddo y cornwydon neu y clwyfau yn hen neu yn newydd. Gwyddys fod y gwreiddiau wedi eu sychu a'u dirisglio, yn feddyginiaeth rinweddol iawn i iachau y llwg, a'r manwynion yn eu dechreuad, ond eu rhwymo wrth bwll y cylla.

## Briwydd Wen.—*Madder.*

LLYSIEUYN garw, heb fawr prydferthwch yn yr olwg arno yw hwn, yr hwn a wrteithir yn benaf er mwyn ei wreiddiau, y rhai a ddefnyddir gan lliw-wyr, ac mewn meddyginiaeth. Mae y gorsen yn betryal a gwan, tua throedfedd a hanner o hyd: y canghenau yn fynych yn ymlusgo ar hyd y llawr, ac yn llawn o gymalau. O bob un o'r cymalau hyn tŷr allan amrywiol o ddail hirion culion, o liw gwyrdd tywyll. Tua'u blaenau tŷr allan amrywiol o flodau melynwyn, ac ar ol y rhai hyny daw allan benau bychain crynion, gwyrddion ar y cyntaf; deuant yn gochion wedi hyny, ac yn ddu pan addfedont: yn y rhai hyn y mae yr had. Nid yw y gwreiddyn yn fawr iawn, ond yn dra hir, gan redeg ddwy neu dair troedfedd i'r ddaear; lleda i amrywiol o ffyrdd, ac mae yn goch pan fyddo newydd ei godi o'r pridd. Codir ef mewn gerddi a meusydd, o herwydd ei fod mor ddefnyddiol: blodeua tua diwedd yr Haf, ac addfeda yr had yn fuan wedi hyny.

Gwna trwyth o'r gwreiddiau îr weithio yn araf trwy y dwfr; ac mae mewn modd nerthol iawn yn symud rhwystrau yn yr afu a'r ddueg; ac mae felly yn feddyginiaeth werthfawr iawn i wella'r graianwst a'r clefyd melyn. Mae yn effeithiol rhyfeddol i iachau y parlys ac ysigdod mewnol neu allanol, am hyny mae yn werthfawr iawn i'w roi mewn diodydd i wellhau archollion. Mae y gwreiddiau i gael eu berwi mewn gwin neu ddwfr, fel y byddo'r achos yn gofyn, at yr holl dybenion a nodwyd; a rhaid gosod rhyw gymaint o fêl neu siwgr yn y trwyth wedi hyny. Mae yr

hadau, ond eu cymeryd mewn finegr a mêl, yn iachau chwydd a chaledwch yn y ddueg. Gellir gwneuthur meddyg-olch *(fomentation)* â'r dail a'r canghenau i symud rhwystrau yn y mynedfeydd mewnol. Ond ysigo y dail a'r gwreiddiau a'u gosod wrth unrhyw ran o'r corph lle y byddo brychni, gwnant ei symud ymaith, a glanhau y cnawd.

## Bronwerth, Llawenlys, Glesyn.—*Common Borage.*

LLYSIEUYN garw, lled gyffredin mewn gerddi, yw hwn, ag iddo flodau gleision prydferth. Mae tua dwy droedfedd o uchder; y cyrs yn dewion, crynion, tyner, a blewog; y dail yn hirgul, geirwon, rhychiog, a blewog oll drostynt. Dywedir ei fod yn rhinweddol i wneuthur cysurlyn: ond anfynych ei defnyddir yn awr yn feddyginiaethol.

## Brwysgedlys.—*Coriander*

PLANHIGYN bychan yw hwn a wrteithir yn Ffrainc a'r Almaen er mwyn ei hadau. Mae yn nghylch dwy droedfedd o uchder, a sypynau o flodau gwynion neu gochion ar flaenau y cyrs. Mae y cyrs yn grynion, sythion, a chau, a bywyn ynddynt. Yr hadau yn unig ddefnyddir. Pan yn îr arogla y llysieuyn hwn yn anhyfryd iawn; ond pan wedi sychu, mae ei arogl yn ddymunol iawn. Mae yr hadau yn effeithiol iawn i wasgaru gwynt; maent yn cynhesu ac yn cryfhau y cylla, ac yn hwylusu y treuliad. Maent yn dda i laesu poen yn y pen, a llonyddu yr ymysgaroedd.

## Brymlys, y Freflys, Llysiau'r Coludd, Llysiau'r Pwding.—*Penny Royal, Pudding Grass, or Pulial Royal.*

MAE y llysieuyn hwn, sef yr un cyffredin, yn gryn adnabyddus, fel na raid bod yn fanol wrth ei ddesgrifio. Nid yw yr un sydd yn y gerddi yn gwahaniaethu fawr oddiwrth yr un sydd yn tyfu yn wyllt mewn tiroedd gwlybion, ac yn ymlusgo ar hyd y llawr, ond yn unig bod ei ddail yn fwy, a'r gorsen yn uwch, ac ddim yn ymlusgo cymaint ar hyd y ddaear. Mae ei ddail yn fychain, a'r blodau o liw coch tywyll, yn tori allan yn duswau o'r cymalau. Mae yn blodeuo yn misoedd yr hâf, yn gyffredin yn Awst. Mae ei arogl yn gryf, a'i flas i raddau yn sur, ond ddim yn anhyfryd.

Gellir defnyddio yr oll o hono yn îr neu yn sych ; ond mae yr un sydd yn tyfu yn wyllt yn llawer cryfach na'r un a godir mewn gerddi. Mae yn effeithiol iawn i dyneru llysnafedd, a chynesu unrhyw ran o'r corph wrth yr hon y rhoddir ef. Mae ei drwyth yn rhinweddol iawn i symud ymaith blentyn marw, a'r garw ar ol genedigaeth, ac i esmwytho y duedd i chwydu. Da fyddai cymysgu ychydig o finegr â'r trwyth cyn ei yfed. Ond ei gymysgu â mêl a halen, mae yn tyneru ac yn symud ymaith lysnafedd caled o'r ysgyfaint, yn puro y gwaed, ac yn bywiocau yr ysbrydoedd. Ond cymysgu ychydig o win ag ef, mae yn gwneuthur lles i rai fyddo wedi eu cnoi neu eu brathu gan greaduriaid gwenwynig; wedi cymysgu ychydig o win â'r trwyth hwn, mae yn effeithiol iawn i ddadebru un a fyddo wedi syrthio mewn llewyg, ond ei ddal dan y trwyn, a'i godi at y ffroenau.

Wedi ei losgi mae ei lwch yn effeithiol iawn i gryfhau cig y dannedd ; mae hefyd yn rhinweddol iawn i esmwytho y gymalwst ; ond ei osod ar y man dolurus nes y byddo yn cochi, gwna plastyr o hono symud brychni oddiar y wyneb. Mae yn feddyginiaeth werthfawr iawn i wella'r afiechyd poenus ac anhyfryd hwnw a elwir crafu. Dylid golchi y cnawd ag ef yn ofalus. Gwna y llysieuyn îr wedi ei ysigo, a'i osod mewn finegr, lanhau hen glwyfau, a symud ymaith olion briwiau ac ergydion o gylch y llygaid, a phob drygliw ar yr wyneb a achoser gan dân. Ond ei ferwi mewn gwin gyda mêl a halen, gwna esmwytho y ddannodd. Mae hefyd yn llonyddu poen yn y cymalau, ac yn cynesu y man dolurus, ond ei rwymo wrtho, wedi golchi y lle yn flaenorol â'r trwyth cynes. Mae yn esmwytho poen yn y pen, y ddwyfron, yr ymysgaroedd, a'r cylla. Wedi ei gymysgu â mêl, halen, a finegr, mae yn esmwytho cwlwm gwythi, a dirdyniadau y gewynion. Wedi ei ferwi mewn llaeth, mae ei drwyth, ond ei yfed, yn effeithiol iawn i iachau peswch, ac archollion yn y genau. Mae y trwyth, wedi cymysgu ychydig win ag ef, a'i yfed, yn llesiol iawn i wella'r clefyd melyn a'r dyfrglwyf; poen yn y pen a'r gewynion, yn codi oddiar oerfel ; mae hefyd yn cryfhau yr olwg. Mae yn effeithiol iawn i symud ymaith drymder o'r cyfansoddiad ; ac yn gymysgedig â blawd haidd, mae yn hynod o rinweddol i iachau llosg tân ; ac, ond ei osod yn y clustiau, gwna esmwytho poen ynddynt.

## Bryttwn, Llysiau'r Cyrph.—*Southernwood.*

MAE y llysieuyn hwn yn drigianydd yr ardd: mae ei gorsen yn gron, ac yn goedaidd, yn byw dan rew blwng y gauaf; ei ddail yn fân ac yn llawn toriadau, yn debyg i ddail Chwerwlys, ei arogl yn beraidd; ac oblegyd ei arogledd hyfryd, mae llawer yn ei wasgaru ar hyd yr ystafell lle y bydd corph marw, o herwydd paham y galwyd ef Llysiau'r Cyrph. Mae y planhigyn hwn o natur wresog, ac yn dda i chwalu gwynt, a phigiadau yn yr ochrau; i gynhyrfu y dwfr i redeg, a glanhau y gareg, a rhag y cwlwm gwythi. Mae y planhigyn hwn yn wasanaethgar iawn yn allanol, os curwch ei ddail gyda hen floneg, i'w roi wrth unrhyw fagwraeth, i'w addfedu, megys cornwydon a'r *felon*. Mae lludw y llysieuyn hwn yn dda i'w wasgaru ar hen glwyfau, pan y byddont yn tyfu yn rhy gyflym, i ddifa y marw ynddynt, ac i'w iachau. Hefyd, mae y lludw hwn, a'i wneud yn eli, yn lladd llau yn mhenau plant, ac yn peri i'r gwallt dyfu ar gopa moel. Mae yn eithaf diniwed i'w ddefnyddio yn allanol a mewnol, ond ei fod wrth ei ddefnyddio yn fewnol, yn dra ffiaidd i'r cylla; ond wrth ei roi am ben llysiau ereill ag a fyddo yn well eu blas, gwna y cylla gydymddwyn ag ef yn burion.

Dywedir fod yr hadau wedi eu hysigo, a'u twymno mewn dwfr cynes, ond yfed y dwfr, yn gwneuthur lles mawr i rai fyddo wedi tori eu llieingig, neu yn cael eu blino gan gwlwm gwythi, dirdyniadau y gewynion, ac anhawsdra i wneuthur dwfr. Ond ei gymeryd mewn gwin, mae yn feddyginiaeth nerthol i gnoad neu rwygiad creaduriaid gwenwynllyd. Dywedir y gwna arogl y llysieuyn hwn, wrth gael ei losgi, yru ymaith seirph a chreaduriaid gwenwynllyd ereill, ac y gwna iro asgwrn y cefn ag olew wedi ei wneuthur o hono, ychydig cyn y byddo i bangau y cryd gymeryd dyn, eu rhwystro yn effeithiol. Gwna plastyr o hono, ac ychydig o afal rhostiedig a bara yn gymysgedig ag ef, ddofi a iachau poethder yn y llygaid. Wedi ei ferwi gyda blawd haidd, gwna symud llinorod *(pimples)* oddiar unrhyw ran arall o'r corph. Defnyddir yr hadau yn gystal â'r planhigyn sych gyda bloneg, i ladd llyngyr. Mae y llysieuyn wedi ei ysigo, a'i ddefnyddio fel plastyr, yn dda i

dynu asglod a drain, &c., allan o'r cnawd. Mae ei ludw yn sychu ac yn iachau hen archollion, os na bydd pocthder ynddynt; y mae, trwy ei lymdra, yn peri cryn boen. Dywedir fod dwfr distylledig o'r llysieuyn hwn yn rhinweddol i symud y gareg o'r bledren, i iachau doluriau y ddueg, llewygon, &c. Mae yn fwy gwrthwynebus i'r cylla yn gyffredin na Wermod.

## Bulwg, y Drewg.—*Cockle or Corn Rose.*

Mae hwn yn blanhigyn uchel a phrydferth, yn tyfu yn wyllt yn mysg yr ŷd; mae iddo ddail culion a blodau cochion: mae y gorsen yn sengl, gwan, blewog, a syth. Saif y dail ddwy yn mhob cymal; nid ydynt yn aml; dail hirion, culion, blewog, o liw glas goleu ydynt. Mae y blodau yn fawrion, un yn mhen pob cangen, ac o liw coch prydferth. Saif y blodau mewn math o gwpanau heirdd, y rhai a wneir i fynu o bump dalen, y rhai ydynt lawer yn hŵy na'r blodeuyn. Mae yr hadau yn dduon, a mynych yr ymgymysgant â'r ŷd, ac y rhoddant flas annymunol arno.

Yr hadau a ddefnyddir: gweithiant trwy y dwfr, ac agorant bob rhwystr. Maent yn rhinweddol iawn i wella'r dyfrglwyf a'r clefyd melyn. Y ffordd oreu i'w cymeryd yw eu malurio yn bowdr, a'i osod mewn rhyw fath o felusfwyd, a'i gymeryd dros beth amser; o herwydd nid yw y meddyginiaethau hyn, y rhai a gymerir i symud hen ddoluriau sefydlog, yn effeithio yn fuan. Mae llawer yn rhoi heibio eu cymeryd o herwydd hyny; ac mae yr un achos yn tueddu yn gyffredin i ddewis meddyginiaethau fferyllaidd *(chemical)* yn eu lle; ond mae y rhai hyn yn fwy diogel, a gellir dibynu mwy arnynt. Dywed meddyg enwog, pe gwnelid prawf teg o'r ddwy ffordd, y byddai i feddyginiaethau fferyllaidd golli eu cymeriad yn fuan.

## Bustl y Ddaear, Ysgol Crist, Y Genri Goch.—*Centaury.*

Planhigyn gwyllt prydferth yw hwn. Nid oes iddo, yn gyffredin, ond un gorsen yn codi o'r gwraidd, yr hon sydd yn tyfu yn nghylch troedfedd o hyd, ac yn ymagor tua'r

blaen yn amrywiol ganghenau; mae y blodau o liw coch gwan, yn sefyll gyda'u gilydd yn fath o duswau. Maent yn agor yn y dydd, ac yn cau yn y nos, ac yn aml fel pe byddent yn methu bod yn fywiog heb lewyrch dysglaer yr haul, cynhyrfydd mawr natur: maent yn cau yn fynych y dydd pan ymguddio hwnw. Mae yn blodeuo tua mis Gorphenaf, ac yn hadu tua phen mis wedi hyny. Mae yr hadau yn eu ffurf fel gronynau gwenith: y gwreiddiau yn rhai bychain celyd, ac yn darfod bob blwyddyn, gan eu bod yn rhy dyner i ddal oerni y gauaf; ac felly rhaid eu planu yn flynyddol.

Mae math arall o'r llysieuyn hwn, ag sydd yn mhob peth yn gyffelyb i hwn, ond bod blodau hwnw yn wynion. Mae y naill a'r llall yn gyffredin mewn tir porfa a choedydd: nid yw yr un sydd yn dwyn blodau gwynion mor aml â'r llall; maent yn gyffelyb yn eu rhinweddau.

Mae y llysieuyn hwn yn feddyginiaeth ragorol i glefydau y cylla; mae ei flas yn hytrach yn chwerw. Mae tê o hono yn effeithiol iawn i gryfhau y cylla, i chwanegu archwaeth at fwyd; ac mae ei drwyth yn nodedig iawn i symud ymaith rwystrau yn yr afu a'r ddueg; i garthu ymaith lynoedd llygredig, ac yn nerthol iawn i esmwythau y glunwst *(sciatica)*. Mae yn rhinweddol iawn i iachau y clefyd melyn, i ddofi poen yn yr ochrau, a thyneru caledwch yn y ddueg, ond ei ddefnyddio yn allanol. Ond ei sychu a'i wneuthur yn bowdr, mae yn feddyginiaeth nodedig rhag y cryd.

Mae powdr y llysieuyn gwerthfawr hwn yn dda i rai yn dyoddef oddiwrth y dyfrglwyf; mae yn lladd llyngyr yn yr ymysgaroedd. Mae trwyth wedi ei wneuthur o flaenau y cyrs ynghyd â'r dail a'r blodau, yn rhinweddol nodedig i wella'r coluddwst; i esmwytho poen y fam wedi esgoriad, a charthu ymaith y llynoedd angenrheidiol eu symud. Mae yn effeithiol iawn hefyd i symud ymaith hen boen o'r esgyrn, i wella y gymalwst, cwlwm gwythi, a dirdyniadau. Mae dram o'r powdr, ond ei gymeryd mewn ychydig o win, yn nerthol i ladd effeithiau peryglus rhwygiad neidr: mae sudd y llysieuyn hwn, gyda ychydig o fêl, yn effeithiol rhyfeddol i gryfhau yr olwg a symud ymaith niwl a fyddo ar y llygaid, ac felly i gynorthwyo yr olwg. Mae yn rhinweddol iawn i

iachau archollion newyddion iraidd; ac hefyd i buro a gwella hen glwyfau a briwiau, i'w glanhau a'u dwyn i gau, hyd yn nod pan fyddont yn ddyfnion neu yn gelyd: y llysieuyn ei hun pan yn lâs, wedi ei ysigo a'i osod wrth y lle dolurus, sydd fwyaf effeithiol i gyrhaedd iachad. Ond gwneuthur tê o hono, a diferu hwnw i'r clustiau, gwna ddyfetha pryfed a fyddo ynddynt; gwna iachau clwyfau a chrach drewllyd ar y pen. Ond golchi y croen ag ef, gwna symud ymaith frychni ac anffurfiwch a fyddo ynddo. Er cysur mawr i'r dyoddefydd, mae y llysieuyn hwn mor ddiniwed fel nad oes perygl wrth ei ddefnyddio: rhaid ei gymeryd yn fewnol at glefydau mewnol. Rhaid i'r claf feddwl mwy am y lles a ganlyna ei ddefnyddio, nag am hyfrydwch wrth ei lyncu; ni themtir neb i'w gymeryd yn fewnol er mwyn ei flas; ond rhaid croeshoelio yr archwaeth yn aml er mwyn cael lles oddiwrth gyffyriau. Mae blas hwn yn dra anhyfryd.

Heblaw y rhai hyn, mae math arall o'r llysieuyn hwn, bychan o faintioli, yn dwyn blodau melynion; mae yn gyffelyb i'r lleill yn mhob peth arall, ond bod ei ddail ychydig yn fwy, ac o liw gwyrdd tywyllach, a'r gorsen yn tyfu drwy ganol y dail. Dalier sylw: er gwella clefydau y gwaed, defnyddier yr un coch; i symud afiechyd y bustl, defnyddier yr un melyn; i garthu ymaith lysnafedd neu wlybwr, defnyddier yr un gwyn. Dylid gofalu am hyn.

## Bwyd yr Hwyad, Llinhad y Dwr, Llinos y Dwr.

*—Duck Weed, or Duck's Meat.*

Llysieuyn gwyrdd bychan yw hwn, heb iddo ond un ddalen fechan gron, yn nofio ar wyneb y dwfr. Mae y gwreiddiau yn ymestyn i waered i'r dwfr am feithriniaeth; anfynych, os un amser, y cyrhaeddant y llaid yn y gwaelod. Gwelir y llysieuyn hwn yn yr Haf, yn gorchuddio agos ein holl ddyfroedd llonydd ni mewn llynoedd a chloddiau. Mae dau fath arall o hono, un ag iddo ddail llai na rhai y llall, llawer o fân wreiddiau iddo yn ymestyn oddiwrth y dail, un arall heb ddim ond un gwreiddyn bychan oddiwrth bob un o'r dail: ond mae pob un o'r rhai hyn yn wyrdd oll drostynt. Ac mae math arall eto, a'i ddail yn fwy, ac yn

goch-ddu odditanynt; ond perthyna yr un rhinweddau i bob un o'r rhai hyn, fel nad yw o bwys pa un o honynt a arferir. Y sudd ddylid ddefnyddio, a dylid ei arferyd dros amryw ddyddiau.

Mae yn gweithio yn nerthol iawn trwy y dwfr, mae yn agor rhwystrau yn yr afu; ac mae, wrtho ei hun, wedi gwella y clefyd melyn. Mae yn rhinweddol iawn i ddofi enyniadau yn y cnawd, ac i ddarostwng Tân Iddwf a'r gymalwst, naill ai wrtho ei hun, neu yn blastyr mewn blawd haidd. Mae dwfr dystylledig o hono yn cael ei ystyried gan rai yn feddyginiaeth nodedig rhag fflameg o fewn, a thwymynon heintus; ac hefyd i iachau poethder yn y llygaid. Ond rhoddi y llysieuyn yn ir wrth y talcen, gwna esmwytho poen a fyddo yn codi oddiar boethder.

### Bwltws.—*Yellow Water Lily or Water Rose.*

PLANHIGYN mawr prydferth yw hwn, o'r hwn y mae dau fath neillduol, y gwyn a'r melyn. Mae i'r un gwyn ddail llydain mawrion a thewion, o liw gwyrdd tywyll. Gwelir ef yn aml yn tyfu mewn pyllau o ddwfr llonydd, a nentydd bychain. Yn yr Hydref gwelir blodau gwynion mawrion yn mysg y dail. Mae y gwreiddyn yn hir a phraff iawn, ac yn gorwedd yn guddiedig yn y llaid: gwreiddyn tyner ydyw. Mae y dail yn sengl, un ar bob corsen; mae y cyrs yn grynion a ffyrf, ond yn gryn dyner, ac ynddynt fywyn gwyn. Mae y dail hefyd yn dewion ac yspyngaidd; maent i raddau yn grynion, ac yn gorwedd ar wyneb y dwfr. Yn mysg y cyrs a nodwyd, saif cyrs gwyrddion ereill, ar y rhai y daw allan, yn gyffredin tua diwedd Mai, flodau gwynion mawrion, un ar bob corsen, yn wyrdd o'r tu allan, ond mor wyned â'r eira o fewn; cynwysa y blodau amrywiol o resi o ddail hirion, tewion, ond culion; y rhesi nesaf i mewn yn llai na'r lleill: yn y canol mae pen yn cynwys amrywiol o edau melynion, yn nghanol pa rai mae hadau chwerwon, llawn o olew.

Nid oes fawr gwahaniaeth rhwng yr un melyn a'r un blaenorol, ond yn unig fod llai o ddail yn y blodau, ei hadau yn fwy ac yn ddisgleiriach, a'i wreiddiau yn wynaidd o fewn ac oddiallan. Mae gwreiddiau y naill a'r llall rywbeth yn hyfryd yn eu blâs. Mae yr hadau yn addfedu yn Awst.

Mae dail a blodau y Bwltws yn oer a gwlyb; ond mae y gwreiddiau a'r hadau yn oer a sych; mae y dail yn oeri pob math o fflamegion; pob math o gryd, pa un ai o fewn neu oddiallan y byddo; gwna y blodau hyny hefyd, naill ai yn gyflaith *(syrup)* neu yn gyffeith-fwyd *(conserve)*; effeithia y cyflaith yn nerthol iawn i beri gorphwysdra, ac i dawelu ymenydd personau gorphwyllog, trwy oeri tymer y pen. Mae yr hadau yn gystal a'r gwreiddiau, yn rymus iawn i atal llifiad gormodol y gwaed a llynoedd y corph, o archollion neu o'r ymysgaroedd: ond y gwreiddiau sydd fwyaf effeithiol i oeri, rhwymo, ac atal llifiadau mewn dyn neu ddynes. Personau a fyddo yn dyoddef oddiwrth boethder yn eu dwfr, buddiol fyddai iddynt ferwi y gwreiddiau mewn gwin a dwfr, ac yfed y trwyth. Mae dwfr distylledig o'r blodau yn rhinweddol iawn i iachau yr holl glefydau a nodwyd, trwy ei gymeryd yn fewnol, neu ei gymwyso yn allanol; a chanmolir ef yn fawr fel moddion i symud ymaith grach a brychni yn y gwyneb, neu unrhyw ran arall o'r corph. Mae olew wedi ei wneuthur o'r blodau, yn y modd y gwneir olew Rhôs, yn feddyginiaeth rymus iawn i oeri chwydd poeth, i esmwytho y poen, a iachau y lle dolurus.

## Brenhines y Waun.—*Meadow Sweet.*

MAE y llysieuyn hwn yn tyfu yn mhob man yn ymyl cwterydd a chloddiau gwlybion, mewn gwaendir. Mae ei ddail yn asgellog a geirwon iawn, a dail mân rhyngddynt ar yr asen ganol, yn awr ac eilwaith, yn debyg i *Lysiau y Fyddau.* Mae y dail yn wyrddlas yr ochr uchaf, ac yn llwydwyn odditanynt; mae y gorsen yn gron ac yn gref, yn tyfu i ddwy neu dair troedfedd o hyd, a phwysi o flodau gwynion mân ar ei blaen.

Mae gwreiddiau y llysieuyn hwn yn feddyginiaeth ragorol mewn twymynon, i agor y chwysdyllau, ac i weithio y gwenwyn allan. Mae tê o'r blodau yn effeithiol iawn i buro y gwaed, ac i gynhyrfu y dwfr; ac yn feddyginiaeth rymus rhag y manwynion, trwy ei yfed fel tê, a golchi y manau dolurus â u trwyth bob dydd, a pheidio yfed fawr o ddim ond y tê hwn, a pharhau i wneyd hyn am dalm hir o amser. Dyna lle y mae dynion yn colli o hyd wrth gynyg gwella

clefyd y brenin, eisiau dal at y feddyginiaeth am dymor hir. Nid yw y clefyd mor anhawdd i'w wellhau ag y meddylir yn gyffredin, ac nid oes dim a'i iachâ mor naturiol ac isgell rhyw lysiau a burant y gwaed; ond rhaid eu cymeryd nes newid ansawdd y gwaed.

## Bydiawg Llwyd.—*Mugwort*

MAE i'r Bydiawg cyffredin amrywiol o ddail yn gorwedd ar y ddaear, a bylchau dyfnion yn eu hymylau, rywbeth yn gyffelyb i ddail wermod, ond lawer yn fwy, o liw gwyrdd ar y tu uchaf, a llwydwyn ar y tu isaf. Mae y cyrs yn bedair neu bump troedfedd o hyd, ac mae arnynt ddail cyffelyb i'r rhai sydd o gylch y bôn, ond rhyw ychydig yn llai; ac ymagorant yn ganghenau tua'r pen uchaf, ar y rhai y mae blodau glas-felyn bychain, fel botymau, ar ol y rhai hyn, wedi iddynt syrthio ymaith, daw hadau bychain mewn math o benau crynion. Mae y gwreiddiau yn hirion a chelyd, a llawer o linynau bychain yn tyfu allan o honynt, trwy ba rai y cymerant afaelion cryfion yn y ddaear. Derfydd y dail a'r cyrs bob blwyddyn, ac ail dyfant yn y Gwanwyn. Mae i'r planhigyn hwn arogl cryn gryf. Pan ewyllysier ei amlhau, gwell rhoi impyn o hono, na'r had, yn y ddaear; ceir fod y dull hwnw yn fwy llwyddianus.

Tyfa cyflawnder o hono mewn llawer o leoedd yn y wlad hon, yn ymyl dyfroedd, ar lanau nentydd bychain, ac mewn amrywiol o leoedd ereill. Mae yn blodeuo ac yn hadu yn niwedd yr Hâf.

Mae y Bydiawg llwyd yn werthfawr iawn i'w osod yn mysg llysiau ereill a ferwir at wasanaeth gwragedd i eistedd uwch ben eu trwyth pan newydd esgor. Mae yn fuddiol iawn i symud rhwystrau, ac atal poethder peryglus yn y fam. Mae hefyd yn feddyginiaeth ragorol i ddryllio y gareg, a symud pob rhwystr i rediad y dwfr: pan byddo wedi sefyll, gwna hwn agoryd y ffordd. Mae ei sudd wedi ei gymysgu â bloneg mochyn, a'i wneuthur yn enaint, yn effeithiol rhyfeddol i symud llyn-granc *(wen)*, a chwydd caled a gyfyd yn aml o gylch y gwddf. Mae yr enaint hwn, ond cymysgu ychydig o Lygaid y dydd *(daisies)* gydag ef, yn fwy rhinweddol fyth i laesu y poen o gylch y gwddf. Mae y

llysieuyn hwn, pan yn îr, neu ei sudd, yn feddyginiaeth ragorol i symud ymaith effeithiau peryglus dogn gormodol o gysglyn *(opium)*. Mae tair dram o bowdr wedi ei wneuthur o'r dail wedi eu sychu yn dda, a'u eymeryd mewn gwin, y feddyginiaeth rymusaf a chyflymaf i'r glunwst. Mae trwyth twym wedi ei wneuthur o'r llysieuyn hwn, ynghyd ag ychydig o Filwydd *(Camomile)* a Thansi gwyllt *(Silver Weed)* yn feddyginiaeth effeithiol i esmwytho y cwlwm gwythi a phoen yn y gewynion; golcher y lle dolurus ag ef dros ychydig amser.

## Byddon Chwerw, Bedwen Chwerw.—*Hemp Agrimony.*

Mae ar y llysieuyn hwn duswau o flodau cochion; ymrana ei ddail yn gyffelyb i ddail Cywarch. Tyfa yn ymyl dwfr, ac mae tua phump troedfedd o uchder: mae y dail yn fawr, o liw gwyrdd goleu; saif y blodau yn duswau cymaint a dwrn dyn. Dywedir bod trwyth y gwraidd yn garthiedydd rhagorol, ac yn feddyginiaeth nodedig rhag y dyfrglwyf.

## Bysedd y Cwn, Bysedd Ellyllon, Menyg Ellyllon, Dail Ffionffrwyth.—*Fox's Glove.*

Mae y llysieuyn hwn yn un o drigianyddion y maes, ac yn mwynhau ei fyd yn rhyfedd ar ochrau hen gloddiau. Gobeithio nad oes achos desgrifio hwn, oblegyd mae plant yn ei adnabod. Nid oes gwell llysieuyn yn tyfu, a mwy diniwed na hwn i'w gymeryd, yn allanol; mae yn gwella pob math o glwyfau, hen a newydd; yn enwog i lanhau a thyfu hen archollion a chlwyfau o bob math, megis briwiau, cornwydon, a chlwyfau clefyd y brenin. Pwywch y dail ynghyd â hen floneg hyd oni byddo yn eli, ac ni bydd eisieu ei well i iachau pob math o hen glwyfau. Mae meddygon, yn ddiweddar, yn ei roddi yn fewnol, ac y mae wedi gwneuthur rhyfeddodau yn y darfodedigaeth trwy ei gymeryd mewn pryd, cyn y toro y cornwydon yn yr ysgyfaint: ei brif effaith yw oeri y fflamboethau yn yr ysgyfaint, a hyny trwy leihau curiad y galon. Mae gan y llysieuyn hwn gymaint o awdurdod ar guriad y galon, fel y gellwch ddod a'r pwls i lawr o chwech ugain i ddeg a deugain yn y mynyd, a llawer

llai na hyny, pe byddai eisiau ; a pha faint o fantais yw hyn gyferbyn a iachau y clefyd angeuol hwnw ! *Tincture* o'r dail a gymerir bob amser yn dumewnol, dechreu ar ddeg, ac ychwanegu dau neu dri diferyn bob dogn, hyd oni fyddo y claf yn teimlo gwrthwynebedd yn y cylla, ac yna lleihau y dogn i ugain neu i ddeg diferyn eilwaith, ac ychwanegu y dognau fel o'r blaen. Gellwch gael y *tincture* gan y fferyllydd wrth yr enw *tinctura digitalis*. Byddai yn well ei gymysgu â *tincture of cardamoms*, os bydd y cylla yn wan ; ond fe allai mai gwell fyddai i'r claf ymgynghori â rhyw feddyg cyfarwydd cyn ei gymeryd.

## Cacamwci, Cribau y Bleiddiau, Cyngau Mawr.—
*Burdock, Great Bur, Loppy Major, Clod-bur.*

Ni raid dywedyd llawer er desgrifio y llysieuyn hwn, o herwydd ei fod yn gryn adnabyddus. Gwelir yn fynych fechgyn bychain yn ymddifyru mewn tori y penau crynion sydd arno, a'u taflu at eu gilydd, y rhai, wedi iddynt afaelu mewn dilledyn, nid hawdd yw eu cael ymaith. Tyfa cyflawnder o hono yn ymyl cloddiau gwlybion, ac ochrau ffyrdd yn ngwahanol barthau ein gwlad.

Mae dail y Cacamwci yn oeri, ac yn sychu yn gymedrol, ac felly yn llesiol i iachau hen glwyfau ac archollion. Wrth ystyried ei rinweddau lluosog, amlwg yw na chafodd y llysieuyn hwn hanner y sylw a deilynga. Mae Rhagluniaeth wedi gwneuthur rhai o'r llysiau gwerthfawrocaf, y rhai mwyaf cyffredin ; ond, er ein cywilydd mawr, yr ydym ni, o herwydd eu bod yn gyffredin, yn eu diystyru. Wrth dynu ymaith y penau crynion sydd ar y Cacamwci, gwasgerir ei flodau, a thrwy hyny amlheir llysieuyn gwerthfawr iawn. Mae ei wreiddiau yn hirion a breisgion ; llwydion ar y tu allan, a gwynion oddifewn. Y gwreiddiau, yn benaf, a ddefnyddir fel meddyginiaeth, a pherthyna iddynt lawer o rinweddau : dewiswch y rhai mwyaf iachus, golchwch hwynt yn lân, a naddwch yn asglodion ; cymerwch ddyrnaid o'r asglod hyn, a thywelltwch arnynt ddau beint o ddwfr berwedig : cedwch ef mewn lle cynes am bedair awr ar hugain, ac yfwch chwarter peint o hono dair gwaith yn y dydd ; gweithia y trwyth hwn yn nerthol iawn trwy y dwfr.

un modd os bydd dyn yn dueddol i fod yn rhwym, mae gwneuthur defnydd parhaus o'r llysieuyn hwn, yn debyg o symud yr achos o hyny ymaith; os bydd dyn wedi cael anwyd trwm, a phoen trwy yr holl aelodau, tê cryf y llysieuyn hwn a egyr chwysdyllau y croen, ac a ŷr yr anwyd ymaith. Hefyd, mae yn feddyginiaeth anghydmarol i'r cylla, pan y bo gwynt a llysnafedd ynddo; llosgfa, gloesygion, gwrthwynebedd, a thyndra ar ol bwyta; trwy ei briodoleddau chwerw, gwna symud yr holl anhwylderau uchod ymaith: ond byddai yn fwy effeithiol at y cylla, pe rhoddid ychydig o wraidd ginger wedi ei naddu yn asglod am ei ben: rhodder crafangaid o'r asglod, a chrafangaid o flodau Camamil wedi sychu (gellwch ei gael gan y fferyllydd); rhoddwch hwynt ynghyd mewn *teapot*, a llanwer ef â dwfr berwedig. Yfer hanner peint o hono foreu a hŵyr, a chanol dydd hefyd, os gellir. Nid oes llawer gwell meddyginiaeth na hon rhag holl anhwylderau y cylla. Mae y Saeson wedi ysgrifenu yn helaeth iawn ar rinweddau Ginger a Chamri, ac wedi eu dyrchafu i'r cymylau mewn canmoliaeth; yr oedd Dr. Rees, o Lundain, yn eu cyfrif y pethau enwocaf yn holl gylchres y cyffyriau, rhag poenau y cylla; a diau eu bod; mae y naill yn berffaith gyfaddas i'r llall, a'r ddau yn gydweddol â'r cylla. Mae y Ginger yn wresog yn ei ansawdd, ac felly yn chwalu gwynt, ac yn sychu y llysnafedd sydd yn orlawn yn y cylla; a'r Camri yn chwerw; ac felly yn cryfhau cynneddf ad-dynawl y cylla, yn chwanegu anweddiad y corph, yn agor y coluddion, yn cynhyrfu y dwfr; ac felly yn adferyd y traul yn rhagorol. Mae yn deilwng o'n sylw, bod y meddygon goreu yn barnu bod y rhan fwyaf o glefydau ac anhwylderau dynion, yn cael eu hachosi gan ddiffyg traul yn y cylla. Os bydd anmhariad yn y peirianau treuliawl, bydd yr ymborth, yn lle cael ei droi yn waed da, yn cael ei droi yn waed drwg, tew, anmhur, ac yn llysnafedd a geri, pa rai a achosant rwystrau yn ngwahanol ranau y corph; y mynyd cyntaf y byddo rhwystrau mewn rhyw ran o'r corph achosir annhrefn a phoen. Yn allanol, mae ei drwyth yn hynod o dda i fwydo chwydd, ac i esmwythau ysigiad mewn gewyn: tyn y chwydd a'r llid ymaith ac a ailasia y gewynau. Byddwch ëofn arno, mae'n eithaf diniwed; ac nid oes llawer o'i well i'w gael.

## Canclwyf.—*Money-wort, or Herb Two Pence.*

MAE i'r Canclwyf cyffredin wreiddiau bychain cyffelyb i edafedd, ac amrywiol o ganghenau meinion, hirion, y rhai, o herwydd eu gwendid, nid allant sefyll i fyny; ac felly ymlusgant ar hyd y ddaear. Maent yn ddwy neu dair troedfedd o hyd, ac weithiau yn chwaneg, ac arnynt amrywiol o ddail; dwy yn mhob cymal, y naill ar gyfer y llall, agos yr un pellder oddiwrth eu gilydd. Mae y dail yn wyrdd a llyfn, agos yn grynion, ond bod eu blaenau yn hytrach yn fain. O tua chanol y cyrs hyd y blaenau daw allan o bob cymal, ar gyrs bychain, flodeuyn melyn, weithiau ddau, pob un yn cynwys pump dalen flaenfain, yn y rhai y mae rhai edau melynion yn y canol. Ar ol i'r dail syrthio, daw yn eu lle benau crynion o hadau.

Mae cyflawnder o hono agos yn mhob tir gwlyb yn y wlad hon, yn ymyl cloddiau, ac yn nghanol tir porfa. Blodeua yn Mehefin a Gorphenaf; ac addfeda yr hadau yn fuan wedi hyny,

Mae y llysieuyn hwn yn rhinweddol nodedig i atal llifiad yr ymysgaroedd, clefyd y gwaed, &c.; ac i gryfhau cylla a fyddo yn dueddol i daflu i fyny. Mae hefyd yn llesiol iawn i iachau clwyfau yn yr ysgyfaint, neu ranau mewnol ereill; i iachau clwyfau gwlybion ar unrhyw ran o'r corph, hyd yn nod pan fyddont yn hen ac o natur ysnodol. I'r holl ddybenion hyn gwna sudd y llysieuyn, neu bowdr o hono a'i yfed mewn dwfr yn yr hwn a roddwyd dur amrywiol o weithiau i oeri; neu dê y llysieuyn ir, a'i yfed mewn gwin neu ddwfr, ateb y dyben. Hefyd, gellir cymeryd nadd neu grafion lliain *(lint)* a golchi y clwyfau yn dda â'r trwyth; mae hyn wedi profi yn effeithiol iawn i'w iachau.

## Canclwm, y Glymog, y Ganhewin, y Waedlys, Berwr yr Iair.—*Swine Grass, Knot Grass, Blood-wort, Good to Staunch Blood.*

PLANHIGYN gwyllt cyffredin iawn yn y maesydd, yn ymyl y ffyrdd, ac ochrau y cloddiau, ac ni raid bod yn fanol iawn wrth ei ddesgrifio. Mae dau neu dri math o hono, ond maent yn gyffelyb i'w gilydd mewn ffurf a rhinweddau: y

mwyaf yw y goreu. Mae y cyrs tua deg modfedd o hyd, yn grynion a chymalog, ac o liw gwyrdd tywyll. Mae y dail yn hirgrwn, yr un lliw â'r cyrs, heb fylchau yn eu hymylau. Gorwedda y cyrs ar y llawr, a thyfa corsen ar bob cymal; blodau bychain gwynion sydd iddo, ac ychydig gochi ynddynt; a hadau duon bychain tri onglog.

Mae yn deilwng iawn o sylw fod rhagluniaeth wedi trefnu fod y llysiau mwyaf defnyddiol, y rhai mwyaf cyffredin a hawddaf i'w cael. Mae tê gwreiddiau, cyrs, a dail y llysieuyn hwn, yn effeithiol iawn i rwymo yr ymysgaroedd; i attal ystolau gwaedlyd; ac mae yn feddyginiaeth nodedig i wella clwyf y marchogion. Mae ei sudd yn beth nodedig i attal y gwaed i redeg o'r genau, ond yfed ychydig o hono yn gymysgedig ag ychydig o win coch; i attal rhediad y gwaed o'r ffroenau, ond ei roi ar y talcen a'r arleisiau, neu ei dynu i fyny i'r ffroenau. Mae hefyd yn effeithiol i ddofi unrhyw wres a fyddo yn y gwaed a'r cylla, ac attal llifiad gormodol hylifoedd y corph, clefyd y gwaed, &c. Mae yn cynhyrfu y dwfr, yn effeithiol iawn i symud graian a thori y gareg yn yr arenau a'r bledren, ond cymeryd dram o bowdr y llysieuyn mewn gwin, amrywiol o ddyddiau yn olynol. Ond ei ferwi mewn gwin, a'i yfed, mae yn dda i wrthwynebu effeithiau cnoad neu rwygiad creaduriaid gwenwynllyd, i ladd llyngyr yn y bol a'r cylla; i lonyddu poen mewnol a achoser gan lygriad y gwaed. Mae dwfr distylledig o'r llysieuyn, a'i gymeryd wrtho ei hun, neu gyda phowdr y llysieuyn, neu yr had, yn effeithiol i ateb yr holl ddybenion a nodwyd; a chyfrifir ei fod yn un o'r meddyginiaethau goreu i ddofi unrhyw fflameg, darostwng chwydd poeth, glanhau a gwella hen glwyfau yn unrhyw ran o'r corph. Ond diferu ychydig o'r sudd i'r clustiau pan yn ddolurus, ac yn rhedeg, gwnant eu glanhau a'u gwella mewn amser byr.

## Cawl.—*Colewort or Sea Bindweed.*

Llysieuyn gwyllt prydferth yw hwn a dyfa yn ymyl y môr mewn llawer o fanau: trueni mawr yw na byddai yn fwy adnabyddus fel llysieuyn meddyginiaethol. Mae y cyrs tua throedfedd o hyd; yn weinion ac analluog i sefyll yn syth; yn grynion ac o liw gwyrdd neu goch-las: mae y dail, o ran

eu ffurf yn debyg i galon, ac o liw gwyrdd dysglaer. Mae blodau cochion mawrion iddo, tebyg i gloch o ran eu dull; gwreiddiau bychain gwynion sydd iddo: llifa sudd llaethog o'r llysieuyn pan dorir rhyw ran o hono, yn enwedig y gwraidd.

Dylid ei gasglu yn ir pan byddo yn nghylch blodeuo, ei ferwi neu ei fwydo mewn dwfr, gydag ychydig o *nutmeg* a hadau *clove*, ac yna cymeryd ychydig o hono yn ol nerth y claf: mae yn beth nerthol rhyfeddol i garthu, a gweithio weithiau trwy y dwfr, yn ddiberygl. Gan ei fod yn feddyginiaeth gref, mae yn addas iawn i bobl o gyfansoddiadau cryfion mewn gwlad: mae yn nerthol iawn i wella y gewynwst a'r dyfr-glwyf. Mae ychydig ddognau o hono wedi gwella y frech fawr. Gellir achub a chadw y sudd sydd yn gweithio allan o'r cyrs a'r gwraidd; daw yn sylwedd caled, ac mae yn feddyginiaeth garthiadol effeithiol iawn.

## Cedu, Cedw.—*Common Mustard.*

MAE y llysieuyn hwn mor adnabyddus fel na raid ei ddesgrifio. Mae meddygon yn ystod y blynyddoedd diweddaf wedi gwerthfawrogi rhinweddau meddygol y Cedu yn fawr: ysgrifenwyd traethodau meithion i ddangos ei effeithiau da, a gwna amrywiol o feddygon enwog ddefnydd mawr o hono. Yr hadau ddefnyddir; ac maent yn effeithiol iawn i gryfhau y cylla, ac awchu yr archwaeth. Ond cymeryd yn helaeth o'r hadau wedi eu hysigo, rhwyddhant rediad y dwfr, ac maent yn nerthol iawn i wella y gewynwst, a'r llwg. Ond eu rhoddi ar y tafod, maent weithiau yn adferu gallu i lefaru yn y cryd. Dylid ei ddefnyddio *dros amser hir* er gwellhau y clefydau a nodwyd. Mae hadau Cedu yn cael eu defnyddio er ys amser maith yn *allanol*. Mae sugaethan o'r hadau wrth y traed a'r coesau wedi rhoddi iachad i gannoedd, wedi i lawer o foddion ereill fethu. Yn y fflameg, y gymalwst, cyfogiad nerthol, y dwymyn felen, a'r holl glefydau ag a ofynant *wrth-gynhyrfiad*, os metha sugaethan o'r hadau, mae achos i ofni na lwydda un moddion ereill. Mae y rhai duon a'r rhai gwynion yn gyffelyb yn eu heffeithiau.

Ond tywallt dwfr berwedig ar lwyaid dda o'r hadau, wedi eu hysigo, ceir cyfogbair rhagorol. Gwna dognau bychain o

honynt rwyddhau rhediad y dwfr a'r ymysgaroedd. Maent yn fuddiol rhag diffyg anadl; ac yn effeithiol iawn i adnewyddu teimlad bywiog yn unrhyw ran o'r corph. Ond rhoddi hanner peint o ddwfr berwedig ar hanner wns o'r had wedi eu hysigo, gyda hanner wns o Rhuddygl Mawrth *(Wild Radish)*, eu gadael i sefyll dros enyd, ac yna rhoddi ychydig o fêl atynt, ceir diod effeithiol neillduol i wella crygni, a dolur yn y safn a chorn y gwddf. Mae had y llysieuyn hwn a gwraidd Rhuddygl Mawrth o'r un natur.

Gall dail y Cedw Gwyllt *(Wild Mustard)* wasanaethu i'w berwi yn lle bresych i'w bwyta gyda chig.

## Cegid, Gwyn y Dillad.—*Hemlock.*

Mae y planhigyn hwn yn drigianydd y maes, ac yn hoffi glàn afonydd, a ffosydd hen gloddiau gwlybion: mae ei wreiddiau yn wyn, ac yn un cwlwm wrth eu gilydd, pump neu chwech, weithiau saith yn mhob cwlwm, yr hyn a barodd i rai eu galw y *Cegid Pumpys.* Corsen gron, gref, uchel sydd iddo, a dail asgellog ar hyd-ddi, yn debyg iawn i ddail persli, a blodau gwynion ar eu *top*, a'r holl lysieuyn yn arogli yn gryf. Mae hwn yn un o'r llysiau goreu ag a gynnyrcha ein gwlad i wella hen glwyfau o bob math. Fe dŷr y gwreiddiau, a'u pwyo gyda bloneg, y cornwydydd mwyaf diffaith, yn gyffredin mewn noswaith; ac nid oes gwell llysieuyn yn tyfu rhag y clefyd cyndyn hwnw, sef y *cancer*, na'r llysieuyn hwn; mae yn glanhau y clwyf, ac yn diwreiddio y dolur. Mae meddygon cywrain yn ddiweddar yn ei roi yn dumewnol, yn gystal ag yn allanol, rhag y clefyd hwn; ond ni ddylai dynion cyffredin ymyraeth ag ef yn fewnol, oblegid mae yn wenwyn marwol os cymerir gormod o ddognau; ond yn allanol chwi a ellwch fod yn ëon arno, oddieithr yn agos iawn i'r genau.

## Ceirch.—*Oats.*

Ni raid desgrifio y rhai hyn, gan eu bod yn ddigon adnabyddus. Mae Ceirch wedi eu crasboethi, yn nghyd ag ychydig halen llwyd *(bay salt)*, a'u gwneuthur yn blastyr, a'i osod wrth yr ochrau yn effeithiol iawn i ddofi poen, a gwasgaru gwynt o'r ymysgaroedd. Mae plastyr wedi ei

wneuthur o flawd ceirch ac *oil of bays* (mae i'w gael gan y fferyllydd), yn rhinweddol iawn i wella y crafu, y gwahanglwyf, a chornwydon; mae yn nerthol hynod i dyneru rhai celyd. Mae blawd ceirch a finegr wedi eu berwi, yn rhinweddol rhyfeddol i symud brychni oddiar yr wyneb a manau ereill o'r corph, ond cymwyso plastyr o honynt at y brychni.

## Celyn.—*Holly.*

Afreidiol fyddai dywedyd gair er desgrifio y pren hwn. Perthyna i'w rawn rinweddau meddygol. Ond bwyta deg neu ddeuddeg o honynt yn y bore cyn boreufwyd, pan fyddont yn addfed ac ir, gwnant gwasgaru gwynt, a gweithio ymaith lysnafedd glydiog afiach; ond eu sychu, a'u malu yn bowdr, rhwymant y corph yn ei amrywiol lynoedd. Mae rhisgl a dail y pren hwn yn rhinweddol neillduol i wneuthur twym-enaint *(fomentation)* i gryfhau asgwrn a fyddo yn cylymu, ac aelodau a fyddont wedi digymalu.

## Celyn y Mor.—*Eringo, Sea Holly.*

Planhigyn gwyllt yw hwn, yn tyfu yn ymyl y mor, a chodir ef hefyd mewn gerddi, o herwydd ei rinweddau. Mae arno bigau cyffelyb i bigau ysgall, ac mae yr holl blanhigyn o liw goleu. Mae y gorsen yn gref, cron, goediog, a rhychiog, ei gangen yn afreolaidd drosto: dail bychain, hirgulion, o liw glaswyn, a'u hymylau yn fylchog. Tyfa y blodau yn duswau ar benau y cyrs; saif cylch o ddail bychain danynt. Y gwreiddyn, yr hwn sydd yn fain hir, ac o flas hyfryd, yw yr unig ran a ddefnyddir yn feddyginiaethol. Y ffordd oreu i'w ddefnyddio yw gwneuthur cyffaeth *(conserve)* o hono; mae felly yn dda neillduol i laesu peswch, a chryfhau y cyfansoddiad; rhwyddhau rhediad y dwfr. Mae tê y gwraidd yn nerthol i wella y clefyd melyn.

## Celyn Mair.—*Butcher's Broom.*

Planhigyn bychan yw hwn, a dyfa yn gyffredin mewn tir agored neu ores, ac arno ddail bychain pigog, a math o gydynau ar flaenau y cyrs. Mae tua throedfedd a hanner o hyd; y cyrs yn grynion, rhychiog, cryfion, a gwydn. Maent

yn noethion tua'r bôn, ac yn ymranu tua'r blaen, lle y maent yn orchuddiedig gan ddail, y rhai ydynt fyrion, llydain, hirgul, y blaen yn rhedeg yn fain a llym. Maent o liw gwyrddlas, ac yn dewion. Saif dwy ddalen, yn gyffredin, yn ymyl eu gilydd. Tua chanol y ddalen, ar y cefn, o'r asen ganol, tyr allan flodeuyn glaswyn, yn yr hwn mae pedair dalen. Ar ol y blodeuyn daw allan rawn cochion, crynion, tua maint pys. Mae y gwreiddiau yn wynion, yn gryfion, a lluosog; a llawer o linynau wrth y prif wreiddyn. Addfeda y grawn tua mis Medi, ac erys rhai o'r dail yn wyrddion trwy y Gauaf.

Y gwreiddyn yw y rhan a ddefnyddir yn benaf, ac mae yn nerthol iawn i symud rhwystrau. Ond berwi y gwraidd mewn gwin gwyn, mae yn effeithiol rhyfeddol i gynhyrfu y dwfr, gweithio ymaith y graian, a threulio y gareg yn y bledren; i attal rhediad gormodol llynoedd y corph; i iachau y clefyd melyn a phoen yn y pen. Ond cymysgu ychydig o fêl neu siwgr ag ef, mae yn effeithiol iawn i symud ymaith lysnafedd glydiog o'r ddwyfron.

Byddai yn fuddiol iawn i bersonau a fyddont wedi tori asgwrn, yfed trwyth wedi ei wneuthur o'r gwraidd, gwneuthur plastyr o'r grawn a'r dail, a'i roi wrth y lle dolurus, tuag at rwymo esgyrn briwedig, a iachau cymalau a fyddont wedi myned o'u lle. Y ffordd oreu i'w ddefnyddio yw berwi y gwreiddiau mewn gwin gwyn, gan roddi gyda hwynt ychydig o Bersli a Ffenigl *(fennel)*, ac yfed y tê. Er fod y trwyth hwn yn ddiniwed iawn, dylid gofalu am gyfartalu ei nerth â nerth y claf.

## Clais, y Glaswenwyn, Tamaid y Diafol.—*Devil's Bit.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd y maes, ac yn hoffi daear iraidd; mae i'w gael yn gyffredin ar fawndir. Mae ei gorsen yn gron, yn fain, ac o gylch troedfedd o hyd; dail hirfain blewog, heb ddim toriadau na bylchau ynddynt. Mae yn rhanu yn fân ganghenau tua'r blaen, a blodau gleision fel bwtwmau yn edrych yn dlws ar y blaen. Mae y gwreiddyn yn lled braff yn ol maint y llysieuyn, yn ddu ac yn fyr, fel pe byddai darn o hono yn eisiau, yr hyn a



*Gold of Pleasure*



*Hartstongue*



*Coltsfoot*



*Black Horehound*



*Gromwell*



*Golden Rod*



*White Horehound*



*Henbane*



*Hemlock*



*Houndstongue*

barodd i'r Pabyddion feddwl mai y diafol a'i bwytaodd rhag iddo fod yn llesiol i ddynion, am ei fod mor dda. Mae yn llysieuyn tra rhinweddol i wrthsefyll gwenwyn, o ba natur bynag y byddo; twymynon, neu frathiadau nadroedd, &c.; yn chwalu gwaed glydiog oddifewn, yn chwalu gwynt, ac yn esmwythau poen yn yr ymysgaroedd. Yn allanol, mae yn dda i ostwng chwydd o bob math, ac i dynu ymaith bob brychni a chleisiau o'r croen, a phob math o darddiant ar y corph, trwy fwydo y manau dolurus â'i drwyth yn gynes. Dywedir hefyd ei fod yn lladd llyngyr.

Mae dau fath arall o hono, cyffelyb yn mhob peth i'r un blaenorol, ond bod un o honynt yn dwyn blodau gwynion, a'r llall rai cochion. Mae y blaenaf yn tyfu mewn maesydd sychion fel rhai gwlybion, mewn llawer o barthau o'r wlad; ar fawndir bob amser: mae y ddau ereill yn fwy anaml, ac mae yn anhawdd eu cael: blodeuant yn gyffredin yn Awst.

Mae tê y llysieuyn neu y gwreiddyn, ond ei ferwi mewn gwin, a'i yfed, yn effeithiol iawn i wella unrhyw glefyd heintus: mae hefyd yn dda i symud ymaith friwiau mewnol a geir trwy gwympiadau ac ergydion.

## Clais y Moch, Clari Dwbl, y Goch-Las, Clych Duram.—*Sage of Rome, Clary.*

Codir y llysieuyn hwn yn aml mewn gerddi: nid yw yn un hardd, ond mae yn un rhinweddol iawn. Mae iddo yn gyffredin bedair corsen betryal, tua dwy droedfedd a hanner o uchder; ei ddail yn llydain, llwyd-wyn, a garw, eu hymylau yn gyfain, a'u harogl yn hyfryd. Tyfa rhai o'r dail gerllaw y llawr, ac ereill yn gyplau ar hyd y cyrs: y rhai isaf yw y mwyaf. Mae y cyrs yn flewog, a glyna glyd oddiwrthynt wrth y llaw pan gyffyrddir â hwynt. Tyfa y blodau mewn gwahanol bellderau, a dwy ddalen fechan yn y cymalau danynt: mae y blodau yn debyg i flodau saeds, ond yn llai, ac o liw glas-wyn: yr hadau yn llwydion ac anghrwn; mae y gwreiddiau yn dywyll, a darfyddant wedi amser hadu: rhaid ei hau bob blwyddyn; oherwydd anaml y coda o'i hauad ei hun. Blodeua yn Mehefin a Gorphenaf, ac addfeda yr hadau yn Awst yn gyffredin.

Rhoddir yr hadau mewn llygaid i lanhau brychau, &c., a ddygwyddo yn anhapus fyned dan yr amrantau. Ond rhoddi dwfr ar ychydig o'r hadau, ceir llws neu lys (*mucilage*) gwerthfawr i'w osod ar chwydd er ei dyneru a'i symud; ac hefyd i dynu drain, &c., o'r cnawd. Ond cymeryd y dail a'u trochi mewn finegr gydag ychydig o fêl, a'u rhoi wrth y manau y byddo poethder, gwrid, cornwydon, bysdwn (*felon*), &c., effeithiant yn nerthol rhyfeddol i symud y poen a'r afiechyd, ond gwneuthur hyny yn brydlon. Gwna powdr y gwreiddyn wedi ei sychu, ond ei dynu i'r trwyn, beri tisian, ac felly buro y pen a'r ymenydd oddiwrth lynoedd anmhur.

Gallai y llysieuyn hwn, wrtho ei hun, neu gydag ereill o'r un natur, fod o wasanaeth mawr i rai a deimlant wendid yn eu cefnau. Defnyddir yr holl lysieuyn yn îr neu wedi ei sychu; mae efe o natur adfywiol, ac i raddau yn rhwymol. Mae math arall o hono yn tyfu yn wyllt yn ymyl cloddiau, ac mewn tir sych, yr hwn sydd yn gyffelyb yn ei rinweddau i'r un uchod.

## Clor, Cylor, Cnau y Ddaear.—*Earth Chesnuts or Pig Nuts.*

MAE hwn yn lled adnabyddus, ac ni raid manylu wrth ei ddesgrifio. Planhigyn gwyllt ydyw, a chaiff ei enw oddiwrth ei wraidd. Mae y cnau hyn yn grynion, yn llwyd oddiallan, gwyn o fewn, ac o flas hyfryd. Tyfa y cyrs tua throedfedd o hyd; mae y gorsen yn gref, o liw gwyrdd, ac arni flodau gwynion bychain, y rhai a dyfant yn dywysenau mawrion ar flaen y gorsen. Dywedir fod yr hadau a'r gwreiddiau yn effeithiol iawn i gynhyrfu y dwfr. Ond sychu y gwreiddiau, a'u gwneuthur yn bowdr, a chymysgu ychydig o hono â mêl neu siwgr, ceir meddyginiaeth nodedig rhag poeri gwaed neu i wella dwfr gwaedlyd.

## Clust yr Arth, yr Olcheuraid, yr Olchwraid.—*Sanicle.*

PLANHIGYN gwyllt prydferth yw hwn ar yr hwn y mae llawer o ddail mawrion yn sefyll ar gyrs hirion, llwydion, tua throedfedd a hanner o uchder. Cyfyd y dail oll oddiar y

gwraidd ; maent o ddull crwn, ond mor fylchog, fel y maent megis yn bum-onglog, yn lled debyg i lun Troed y Frân, a'u hymylau yn fylchog, yn llyfn, ac o liw du dysglaer, gydag ychydig gochi tua'r ymylau. Yn eu mysg cyfyd cyrs bychain crynion, o liw gwyrdd, heb gymal na dalen, oddieithr ar y blaen, lle yr ymranant yn flodau bychain gwynion, yn dyfod allan o benau bychain crynion, o liw glas-felyn : amrywiol yn sefyll ynghyd yn dywysen, lle wedi hyny y daw hadau bychain, y rhai a lynant wrth ddilledyn a'u cyffyrddo. Mae y gwreiddyn yn gynwysedig o lawer o linynau meinion gyda'u gilydd, y rhai a ddaliant lymder y Gauaf, a phery y dail heb wywo. Ceir ef mewn coedwigoedd cysgodol, a lleoedd ereill yn y wlad hon. Blodeua yn Mehefin, ac addfeda yr hadau yn fuan wedi hyny.

Mae hwn yn enwog iawn am ei rinweddau i wella archollion gwlybion, cornwydon, a darostwng chwydd ar unrhyw ran o'r corph. Gellir yfed ei drwyth, neu gymeryd ei bowdr. Ni cheir ei ragorach i roddi iachad buan i ddyn neu anifail, pan byddo yr afiechyd yn yr ysgyfaint neu y gwddf ; ac i wella clwyfau digofus a llygrawl yn y genau, y gwddf, &c., trwy ddal y te, wedi ei felusu â mêl, yn y genau, neu olchi y lle dolurus â'r cyfryw wlybwr. Mae yn effeithiol iawn i attal rhediad gormodol llynoedd y corph, i iachau clwyfau yn yr arenau, &c., ond ei ferwi mewn gwin neu ddwfr, ac yfed y trwyth. Mae yn un o'r llysiau goreu at y dybenion a nodwyd.

## Clust yr Asen, Cynghlenydd yr Afon, y Llefanog, Llinwydd yr Afon, Llysiau'r Afu.—*Liver Wort.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd yr afon, yn ymhyfrydu mewn hen geulan wlyb, neu graig lle byddo mwsgwl a dwfr ar hyd-ddi. Nid yw ond bychan o faintioli ; ei ddail yn gorwedd mor agos i'r ddaear ag yw clustiau gwr i'w ben, yn llawn toriadau anniben, o liw gwyrdd tywyll, a'u blas yn chwerw. Saif y blodau ar gyrs meinion tua modfedd neu ddwy o uchder ; mae y gwreiddiau yn fychain a meinion. Nid oes braidd llysieuyn i'w gymharu â hwn at holl glefydau yr afu ; mae ei drwyth yn ei oeri a'i lanhau, ac yn dofi poethder mewn unrhyw ran o'r corph yn gwella y clefyd

melyn; yn ceri yr arenau, ac yn eu sychu pan yn rhedeg; yn attal lledaeniad y ddyrwden, a chrach ar wahanol ranau y corph. Mae yn feddyginiaeth nodedig i'r rhai y byddo eu hafu wedi ei annhymeru trwy alariad *(surfeit)*, o herwydd yr hyn y tyr allan boethder a chrach ar hyd y corph; mae yn cryfhau yr afu mewn modd neillduol. Yr hyn sydd yn tyfu ar greigiau gwlybion yw y goreu. Yn allanol, fe wella bob math o darddiadau a chrach ar y croen, trwy wneud eli o hono, a'i gymwyso at y manau dolurus.

Byddai pob llysieuyn yn fwy rhinweddol a grymus, pe cymerech win gwyn, neu ryw win gwan arall, a briwio y llysiau yn fân, a gosod y gwin a hwythau mewn ysten, a'i chau i fynu, a'u rhoi mewn crochanaid o ddwfr ar y tân i ledferwi am y nos, ei hidlo pan oero, ei gostrelu, ac yfed gwydraid bychan o hono ddwywaith y dydd. Mae gwin yn well na dwfr.

## Clust y Llygoden, Flewynog.—*Mouse Ear.*

Llysieuyn tlws iawn yw hwn, ag iddo ddail gwynion a blodau melynion, ac a geir yn aml yn ymyl cloddiau ac mewn tir tywodlyd. Tyfa y dail yn sypynau bychain; maent yn hirion a llydain, o liw gwyrdd tywyll ar y tu uchaf, a gwyn odditanynt; ac mae y tu isaf gymaint yn y golwg, fel yr ymddengys eu bod oll yn wynion. Mae y cyrs yn cripian ar hyd y llawr, ac yn cymeryd gwraidd o bob cymal: y dail yn flewog. Cyrs sengl yw y rhai sydd yn dwyn blodau; nid oes dail arnynt, ac un blodeuyn mae pob un yn ddwyn, yr hwn sydd ar flaen y gorsen. Mae y blodau yn fawrion, yn eu ffurf yn gyffelyb i flodau. Dant y llew, ond eu bod o liw melyn, gwanaidd, ac ychydig o gochi ar y tu isaf o gylch yr ymyl, yn enwedig os bydd yn tyfu mewn tir sych. Wedi i'r blodau heneiddio ychydig, maent yn troi yn fân blu, a'r gwynt yn eu cymeryd ymaith gyda'r hadau.

Mae ychydig o sudd llaethog yn y cyrs; nid oes iddo braidd ddim arogl, ond mae ei flas yn dra chwerw.

Byddai yfed ychydig o'r sudd, yn gymysgedig â gwin, neu dê o hono, yn effeithiol iawn i wella y clefyd melyn, ond ei yfed dros rai wythnosau yn olynol, foreu a hwyr, a pheidio yfed dim arall dros ddwy neu dair awr ar ol hyny. Mae yn

effeithiol iawn i dreulio y gareg, ac esmwytho poen yn yr ymysgaroedd. Mae tê hwn, gydag ychydig o Ysgall y meirch a Bustl y ddaear, yn rhinweddol iawn i wrthwynebu y dyfrglwyf, ac attal rhediad y gwaed o'r trwyn neu y genau, &c. Ond ei gymeryd yn îr, ei ddryllio, a'i roi wrth archoll newydd ei thori, gwna ei chau yn fuan. Gwna ei sudd, ei drwyth, neu bowdr y llysieuyn wedi sychu, attal lledaeniad pob math o grach ar unrhyw ran o'r corph ; ac mae yn fuddiol iawn i wella clwyf y marchogion : gellir cymeryd y dail, eu berwi mewn llaeth, a'u cymwyso yn allanol.

## Cnau yr India.—*Nutmeg.*

OFEREDD fyddai desgrifio y pren, ar yr hwn y tyfa y ffrwythau hyn : mae hinsawdd Cymru yn rhy oer iddo. Cawn y cnau yn gyfain, yn aml, i'r wlad hon. Mae y ffrwyth hwn yn beraidd, a nerthol i gryfhau y cylla, a'i gynorthwyo i dreulio yr ymborth. Gwna attal cyfogiad, ac mae yn rhinweddol i ddofi y colu ldwst. Wedi ei rostio o flaen tân, a'i gymysgu ag ychydig o Arianllys *(rhubarb)*, nid oes ei well i attal lhesder yn yr ymysgaroedd.

## Cnau Ffrengig.—*Walnuts.*

TYFA y rhai hyn ar bren adnabyddus, ac ni raid ei ddesgrifio. Blodeua yn gynar cyn toro y dail allan, ac addfeda y cnau yn Medi.

Bernir fod y cnau yn fwy rhinweddol pan yn leision, cyn i fasgl dyfu o'u cylch. Mae rhisgl a dail y pren yn rhwymol iawn. Mae y dail, wedi iddynt heneiddio, yn boeth, a dylid bod yn gynil wrth eu defnyddio, yn enwedig os dyoddefa y claf oddiwrth beswch a diffyg anadl. Mae y dail yn rhinweddol i wella cnoad ci cynddeiriog, neu wenwyniad rhyw greadur arall, ond eu bwyta wedi eu cymysgu ag wniwn, halen, a mêl. I wrthwynebu gwenwyn neu haint glynol, rhydd hen feddyg enwog y cyfarwyddyd canlynol :—Cymerer dwy gneuen Ffrengig sych, dwy ffigysen dda, ac ugain o ddail y Rhuw, dryllier hwynt yn fân, yn gymysgedig ag ychydig halen ac ugain o rawn y Ferywen, *(juniper)*, a chymerer ychydig o'r powdr hwn bob boreu cyn bwyta dim ; mae hyn wedi profi yn effeithiol iawn i'r dyben a nodwyd.

Mae y cnewyll, ar ol iddynt heneiddio, yn fwy olewaidd, ac felly yn fwy anaddas i'w bwyta; ond eu malurio, a chymysgu y powdr ag ychydig o win, maent yn nerthol iawn i wella dolur y gwddf; mae ychydig o'r powdr hwn a mêl wedi eu cymysgu, yn effeithiol iawn i ddofi poen a phoethder yn y clustiau. Dywedir y gwna rhoi darn o'r masgl îr mewn dant tyllog, esmwytho y poen ynddo.

Bydd yn dda i rai ag iddynt gylla gwan a gwlyb, gymeryd rhai o'r cnau hyn pan yn îr a chyn yr hanner addfedont, a'u cadw mewn siwgr, a bwyta ychydig o honynt ar wahanol amserau. Mae dwfr distylledig o'r masgl gwyrdd, pan yn addfed, ac wedi ei neillduo oddiwrth y cnewyllen, yn fuddiol iawn i laesu dolur y gwddf, ond ei ddal yn y genau, neu olchi y gwddf ag ef: mae yn nerthol hefyd i wella y clyw, a darostwng poen a swn yn y pen. Mae dwfr distylledig o'r dail gleision tua diwedd mis Mai, yn feddyginiaeth rinweddol i iachau clwyfau gwlybion, ond ei roi arnynt â llieiniau gwlybion bob bore.

Mae tê rhisglyn y gneuen yn gyfoglyn rhagorol: gwna powdr o hono ateb yr un dyben; gweithia yn rhwydd ac effeithiol iawn.

## Cnau Almond.—*Almonds.*

Mae y pren Almond yn dwyn cnau melus a chwerw; gwahaniaethir hwynt yn unig wrth eu blas. Mae y pren hwn yn gyffredin yn Ffrainc ac Itali. Mae y cnau melusion yn rhinweddol i iachau holl glefydau yr arenau a'r bledren. Dylid eu cànu, a'u cymysgu yn dda â heiddlyn *(barley water)* yn wlybwr fel llaeth: mae ychydig o'r gwlybwr hwn yn llesiol i'r rhai a flinir gan boethder mewnol a'r darfodedigaeth.

Gwerthfawrogir y cnau chwerwon o herwydd yr olew sydd ynddynt; ond gan fod pethau ereill hawsach i'r Cymry eu cael a'u defnyddio, ni fanylir ar y rhai hyn.

## Cochlys.—*Great Burnet.*

Mae cyflawnder o'r llysieuyn hwn yn tyfu yn mron yn mhob parth o'n gwlad lle y byddo daear weddol o dda;

mewn gwndynydd yn agos i'r perthi, ac mewn caeau ŷd. Mae ei ddail yn dywyll eu lliw, ac yn asgellog ; dalen ar gyfer dalen yn llawn bylchau mân o gylch eu hymylau a dalen anghynifer ar y blaen. Mae corsen gron yn tyfu o'u canol, a'r cyffelyb ddail ar hyd-ddi, ond eu bod yn fanach, ac yn taenu yn ganghenau tua'r blaen, a phen crwn ar flaen pob un o liw coch-ddu, pa rai yw y blodau.

Mae y llysieuyn hwn yn hynod o dda i yfed ei isgell ar ddechreu twymynon, i gryfhau y galon, ac i agor y chwysdyllau, fel y bwrier allan y gwenwyn o'r gwaed. Mae y gwreiddyn yn rhwymawl a chryfhaol, ac yn feddyginiaeth werthfawr rhag pob math o ryddrediadau a gwaed-lifau. Gellwch sychu y gwraidd a'i falu yn bowdr, neu yfed ei isgell. Dyrnaid o'r llysieuyn, neu wns o'r gwreiddiau mewn isgell.

## Corn Carw y Mynydd.—*Club Moss.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd y maes, ac yn hoffi mynyddoedd a lleoedd uchel, ond nid yw byth yn tyfu ar ddaear arw, nac mewn lle gwlyb, nac ar ddaear fras, ond ar ddaear deg, sych, a chlystog o fwswgl o dano. Mae yn rhedeg yn llinynau ar wyneb y mwswgl, ac yn cymeryd gwraidd wrth ymdaenu. Mae yn tyfu weithiau yn droedfedd o hyd, mwy neu lai, ac yn rhanu yn fân ganghenau, a'r rhai hyny yn fân ganghenau eilwaith, yn debyg eu dull i gorn carw. Mae yr holl lysieuyn wedi ei wisgo â chyflawnder o ddail mân teg, neu i'w deimlo fel melfed. Mae yr un lliw a mwswgl yn gyffredin. Nid wyf yn cofio i mi weled dim blodau arno. Mae cyflawnder o hono yn tyfu ar fynydd Epynt, ond ni welais i ddim erioed ar y mynydd Du. Ei brif rinwedd yn fewnol yw esmwythau poen yn y cefn a'r cluniau, trwy lanhau y graian ymaith; mae hefyd yn cael ei ganmol yn uchel gan rai yn allanol, mewn trwyth i fwydo yr aelodau pan y byddo chwydd a phoen ynddynt, megis y gymalwst a'r gewynwst. Byddai yn hawdd gwneud prawf o hono wrth ei gadw o hyd llaw drwy ei sychu a'i ferwi mewn llwfr, pan y bydd gwanegon mewn aelodau. Mae yn eithaf diniwed.

## Codwarth.—*Deadly Nightshade.*

Dichon yr ymddengys cymysgu gwenwyn â meddygin-

iaethau, yn beth dieithr iawn ; ond mae rhan o'r llysieuyn hwn yn ddefnyddiol rhyfeddol. Planhigyn gwyllt o liw tywyll ydyw, a rhywbeth yn ei liw yn awgrymu y dylid bod yn ofalus wrth ei drafod. Mae yn tyfu yn ymyl muriau mewn ysgarthion, yn ymyl llwybrau a chloddiau, mewn meusydd, ac mewn gerddi. Mae yn darfod bob Gauaf, ac yn codi eilwaith o'i hauad ei hun : ymddengys yn gyffredin tua diwedd Ebrill. Tyfa tua phum troedfedd o hyd. Mae y cyrs yn onglog, ac o liw gwyrdd tywyll. Mae y dail yn fawrion iawn, yn llydain, a gwastad, o'r un lliw â'r cyrs. Saif y blodau yn sengl ar gyrs byrion yn codi o fysg y dail, ac y maent hwythau o'r un lliw trymaidd: maent yn fawrion a chau, ac yn plygu i lawr. Ar y tu allan y maent o liw tywyll, rhwng llwyd a gwyrdd, ac o fewn yn goch-las dwfn. Dilynir y rhai hyn gan rawn tebyg i Geirios yn eu maint, o liw du dysglaer pan yn addfed, a llawn o fywyn, o flas melus anhyfryd. Mae y gwraidd yn hir. Dylid gochelyd y grawn fel gwenwyn marwol ; mae plant wedi eu bwyta lawer gwaith, ac wedi marw mewn canlyniad. Mae y dail, ond eu cymwyso yn allanol, yn oeri ac yn tyneru ; maent yn rhinweddol iawn i iachau y ddarwden a chwydd caled. Maent yn werthfawr i'r dybenion hyn ; ond dylid cadw y planhigyn o afael plant, neu beidio ei adael i ffrwytho, gan mai y dail yn unig ellir ddefnyddio.

## Comffrei, Llysiau'r Cwlwm.—*Comfrey.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd yr ardd, ond weithiau i'w gael yn y meusydd, yn ymyl hen gloddiau, lle y bo daear fras. Mae ei wreiddyn yn ddu oddifaes, a chyn braffed a bys gwr ; weithiau bydd cwlwm o'r rhai hyn wrth eu gilydd, a phan dorer un o honynt mae yn llawn o sudd olewaidd, glydiog : ei gorsen yn gref, yn taenu yn fân ganghenau tua'r blaen ; y dail yn fawr, yn arw, ac yn flewog, ac yn flaenfeinion, yn debyg i ddail Bysedd y Cwn ; blodau gwynion, bychain, yn crogi wrth ochrau y gorsen tua'r blaen, ar ddull cloch. Os na adnabyddwch ef wrth hyny, ewch at ryw hen wraig ag a fyddo yn byw mewn bwth lle y byddo hen ardd fras, a gofynwch iddi am wraidd *Gwmffre*, hi a'ch arweinia, ond odid, i'r hen ardd lle y bydd yno

ddigon yn tyfu, a gormod wrth farn yr hen wraig. Mae y llysieuyn hwn yn enwog mewn rhinweddau, a dylai fod yn gydymaith gwastadol y dyn tlawd: mae ei ansawdd yn oer, a sych, ac felly yn feddyginiaeth werthfawr rhag pob math o glwyfau, ac archollion mewnol; os bydd careg wedi dolurio y gwaedlestri yn yr arenau neu y bledren, neu rodfeydd y dwfr yn unrhyw fodd, gwna tê o wraidd y llysieuyn hwn, asio y llestri yn nghyd, a iachau y clwyfau; oblegyd mae ei briodoleddau elraidd a thyner a rhwymawl, yn cydweddu â'r doluriau: yr un modd os bydd gwythien wedi agor yn yr ysgyfaint, a gwaed yn dyfod allan gyda'r poer, asia y rhwygiad yn ol; ac os bydd y darfodedigaeth wedi cydio yn yr ysgyfaint, a'r cornwydydd wedi tori, enemna y ffordd i'r poer, a chynorthwya yr ysgyfaint i daflu y llysnafedd i fynu a iacha y clwyfau yn hollol, os na byddant wedi myned yn rhy bell i'r ysgyfaint: ond cofiwch pan y byddoch yn ei ddefnyddio at anhwylderau y ddwyfron a'r ysgyfaint, y bydd raid i chwi gymeryd dogn o ryw gyffair rhyddhaol, megys *Rhubarb*, &c., yn awr ac eilwaith, rhag i'r corph rwymo gormod, ac felly fagu gwres a thrwy hyny gynyddu y clefyd. Hefyd, y mae yn sychu hylif oerllyd drwg o'r pen, ac felly gwellâ lygaid gweinion, a *breast* dyfrllyd. Mae yn hynod dda rhag y dolur rhydd, ie pe byddai wedi troi yn glefyd y gwaed, trwy ei fod yn elio, asio, a chryfhau y coluddion a'r cylla, ynghyd â'r holl ranau mewnol. Gwn am amryw a gawsant wellhâd hollol a buan o'r clefyd hwn, ar ol gwneuthur prawf o bob cyffyriau ereill, ag oedd o hyd cyrhaedd iddynt, am wythnosau; a rhai o'r rhai hyn wedi myned yn rhy eiddil gan ffyrnigrwydd y dolur i rodio allan o'u tai. Yr wyf yn barnu na all gweithwyr tàn-ddaearol mynyddoedd Morganwg a Mynwy gael gwell na rhatach meddyginiaeth, pan y byddont wedi cael eu gwasgu a'u hysigo gan gwympiadau, na'r llysieuyn hwn; ond iddynt ofalu, pan y byddo eu corph yn rhwymo gormod, i gymeryd dognau yn awr ac eilwaith o ryw gyffyr rhyddhaol.

Yn allanol hefyd, efe a wna ryfeddodau mewn hen friwiau: os byddwch wedi tori asgwrn, pwywch y gwreiddiau yn eli, a thaenwch ef ar ledr gwyn, neu lian cryf, ac ar ol i chwi roi yr asgwrn yn ei le yn gyntaf, rhowch y plastyr am dano; efe a'i asia mor gryf ag erioed: ond os bydd y cnawd wedi

briwio, gwell peidio, am y bydd yn angenrheidiol trin y clwyfau bob dydd. Hefyd, os bydd clwyfau wedi eu tori yn y cnawd, efe a asia y clwyfau ynghyd mor gyflym, tu hwnt i gred, braidd. Ond, cofiwch, ni wna y tro at *hen* glwyfau, na chlwyfau *newydd*, wedi eu tori gan goed, cerig, a chwympiadau; gan fod y cnawd yn cael ei ysigo gymaint gan ddefnyddiau o'r fath, a'r ysgarthion hyn yn gofyn amser maith i bydru ac i weithio allan, ac yn gofyn triniaeth fanwl; felly peidiwch ymyraeth â'r feddyginiaeth hon, ond pan y byddo toriad wedi ei wneud gan arf eithaf miniog; megis pladur, cyllell, bwyall, &c. Gwasgwch ymylau y cyfryw glwyf at eu gilydd, yn y gwaed, a rhoddwch blastyr o wraidd y llysieuyn hwn arno, ac aroswch yn llonydd (os bydd yr archoll yn fawr) dros ychydig ddyddiau, ac ni bydd eisieu ychwaneg o ffwdan yn ei gylch. Cofiwch mai y gwreiddiau a ddefnyddir at yr holl glefydau uchod. Tynwch y gwreiddiau, a golchwch hwynt yn lân, a chrafwch y rhisgl du odditanynt, naddwch hwynt yn asglod, a rhoddwch ddyrnaid o'r asglod hyn mewn *tea-pot* o faintioli canolig, a llenwch ef â dwfr berwedig; gadewch ef i sefyll mewn lle cynes hyd oni byddo fel hufen llaeth; yfwch gwpanaid o hono dair gwaith y dydd; ac os byddwch am wneuthur plastyr o honynt, nid oes eisieu ond pwyo y gwreiddiau yn unig, heb nag olew na bloneg, a'u taenu a'r ledr. Byddwch yn eofn ar yr hen gyfaill.

## Corn y Carw Mor, y Godog.—*Samphire.*

Mae i'r llysieuyn hwn gorsen werdd dyner, yn ynghylch dwy droedfedd o hyd, yn ymagor yn ganghenau o'r bôn agos, ac arni gnwd mawr o ddail lled grynion, o liw tywyll, yn ymranu yn debyg i ddail Ffenigl; dwy yn gyffredin gyda'u gilydd ar y gorsen; maent yn llawn sudd, ac o flas hyfryd. Ar flaen y cyrs a'r canghenau saif sypynau o flodau melynwyn. Mae y cyrs yn lled grynion, yn rhychiog, a chau; y gwreiddyn yn fawr a hir, o liw gwyn, ac yn parhau lawer o flynyddau; mae o natur wresog.

Mae yn tyfu yn gyffredin mewn tir yn cael ei ireiddio os nid ei orlifo yn aml gan ddwfr hallt. Mae yn blodeuo ac yn hadu tua Gorphenaf ac Awst.

Gŵyr y rhan amlaf o ddynion fod diffyg treuliad bwyd, a rhwystr yn llwybrau y carthion, yn brif achosion y rhan amlaf o glefydau y natur ddynol. Gwnelai defnyddio y llysieuyn hwn yn fynych symud y drygau hyn. Gan fod llawer yn hoffi sibr neu saws gyda eu bwyd, doeth fyddai iddynt ddewis un a fyddai yn fuddiol yn gystal a blasus.

Mae y llysieuyn hwn yn un diogel; hyfryd i'r archwaeth a'r cylla; yn cynorthwyo i dreulio y bwyd, i agor llwybrau yr afu a'r ddueg; yn cynhyrfu y dwfr, yn symud y graian a'r gareg o'r arenau a'r bledren; trueni mawr na ddefnyddid ef yn amlach.

## Coriander.—*Coriander.*

PLANHIGYN bychan yw hwn, a godir yn Ffrainc a Germani, er mwyn ei had. Mae arogl anhyfryd i'r holl lysieuyn pan yn îr; ond wedi i'r hadau sychu, mae eu harogl yn hyfryd, ac maent yn effeithiol iawn i wasgaru gwynt, cynhesu a chryfhau y cylla, cynorthwyo y treuliad, esmwythau poen yn y pen, ac maent yn llesiol, gyda phethau ereill, i attal y dolur rhydd.

## Cra'r Gerddi, Garlleg.—*Garlic.*

NI raid manylu wrth ddesgrifio hwn chwaith: ni all neb ei fwyta heb i'w gyfeillion wybod hyny yn fuan. Cyfrifid hwn gynt, o herwydd ei rinweddau lluosog, yn driagl y dyn tlawd. Mae y gwraidd i'w ferwi mewn dwfr; ac ond cymysgu y tê a mêl, ceir meddyginiaeth ragorol i wella crygni, diffyg anadl, cnoad ci drwg a brathiad neidr; i ladd llyngyr mewn plant, i dori a symud llysnafedd glydiog, puro y pen, a bywhau natur: gwella y llwg, a chlefyd y gareg. Ond eu rhoddi wrth y traed, rhoddant esmwythdra i'r pen a'r ysgyfaint. Mae yn beth enwog i gadw ymaith haint, a rhag y dyfrglwyf, y cwlwm gwthi, dirdyniadau, clwyf y marchogion, a'r holl glefydau oerion. Byddai yn well peidio gwneud arferiad parhaus o hono yn fewnol, o herwydd ei fod o ansawdd rhy boeth; ychydig ddognau yn awr ac eilwaith wrth angen. Y ffordd oreu i'w gymeryd *yn fewnol*, yw llyncu yr ewin yn gyfan, os gellir, wedi ei drochi mewn

olew, neu ddarnau o hono, heb eu hysigo; canys y mae yn colli ei nerth yn fuan wedi yr ysiger ef.

Yn allanol, fe wellha y dolur angeuol hwnw ar blant a elwir y *Croup*, trwy bwyo pump neu chwech o'r ewinedd am ben ychydig o *Tincture of Assafœtida*,, a'i roddi yn gynes ar wddf a dwyfron y plentyn, a rhoddi gwlanen yn gynes arnynt. Meddalha a thyn ymaith gyrn oddiar fysedd y traed, trwy bobi un ewyn ar dewyn o bren, pan yn goch, a'i roi yn blastyr ar y corn, a'i newid ef ddwywaith y dydd.

## Crafanc y Fran, Chwys Mair.—*Crow foot, Golden Knap, or Butter Flower.*

Mae ar y llysieuyn cryf hwn gynifer o enwau ag oedd ar yr hen Gymry gynt: mae llawer o fathau o hono, ond y rhai mwyaf cyffredin a ddefnyddir yn feddyginiaeth. Mae tua throedfedd neu chwaneg o uchder; y cyrs yn gryfion a changhenog, o liw gwyrdd; y dail ryw gymaint yn dywyllach. Nid yw y dail yn lluosog: mae y blodau yn felynion a dysglaer, tua maint swllt, yn sefyll ar flaenau y canghenau. Ceir y llysieuyn hwn ar hyd y maesydd, yn ymyl cloddiau, ac ymwthia yn fynych i'r ardd. Blodeua yn Mai, ac o hyny hyd fis Medi.

Dylid peidio ei gymeryd yn fewnol dan unrhyw amgylchiadau: ond yn allanol gellir gwneuthur yn eofn arno. Gwna enaint o'r dail neu y blodau godi pothell, a gellir yn briodol ei roi ar y war i dynu llynoedd o'r llygaid. Gwna y llysieuyn wedi ei ysigo, a'i gymysgu â mwstard, godi pothell yr un cystal, yn effeithiol a diberygl. Mae yn rhyfeddod ac yn drueni na ddefnyddid ef yn amlach i'r perwyl hwn: ond mae y werin mor hoff o feddyginiaethau a ddygir o wlad bell, fel na roddant fawr bris ar ddarpariadau rhad a gwerthfawr natur yn eu hymyl. Mae y dail sydd yn codi oddiar y gwraidd yn fawrion, ac yn fynych â manau gwynion arnynt.

Bernir fod pob math o'r llysieuyn hwn yn wenwynllyd i raddau; ac mae dau fath felly yn neillduol, y rhai a elwir Llysiau y Gwaew, i'r rhai y mae dail hirion, culion, a chyfain, a'r blodau yn llai na rhai y lleill: tyfant mewn tiroedd gwlybion, a gwell eu gochelyd.

## Criafol, Cerdinen.—*Mountain Ash.*

Nid oes un pren yn fwy cyffredin na hwn, nac ychwaith yn fwy adnabyddus na hwn yn rhanau mwyaf mynyddig Cymru; gwaith heb raid yw ei ddesgrifio. Mae ei rinweddau yn fwy nag y mae nemawr o neb yn gwybod. Mae yn un o'r cyffyriau mwyaf grymus i weithio yn ffordd y dwfr, yn agor rhwystrau yn yr afu, y ddueg, y cefn, ynghyda holl bibellau y dwfr; ac yn cynhyrfu y rhanau hyny i fwrw allan y graian a'r gareg; yn iachau y dyfrglwyf a'r clefyd melyn, yn nghyd a'r holl glefydau hyny a ddeilliant oddiwrth fusgrellni yr arenau. Y rhisgl a'r grawn yw y rhanau mwyaf rhinweddol o'r pren. Gellir gwneuthur diod iachus o'r grawn pan y byddont yn llawn addfed, a'i chadw at wasanaeth trwy y flwyddyn, rhag y doluriau uchod.

## Cribau, St. Ffraid, Danogen.—*Betony.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd y maes, ac yn hoff iawn o goedydd a hen gloddiau cysgodol; ond nid yw yn hoffi daear fras iawn. Mae ei ddail yn fain hirion, yn llawn bylchau mân, yn debyg ilawlif: yn yr Haf mae corsen fechan yn codi i fyny, yn rhanu yn fân ganghenau, ac arnynt benau lled fawr, a blodau cochion yn dyfod allan o honynt. Mae ei rinweddau yn aml. Mae rhai awdwyr wedi ysgrifenu cyfrol ar y llysieuyn hwn yn unig; ond digon tebyg eu bod yn siarad gormod. Mae yn hynod o dda i'r cylla; yn chwalu gwynt, yn gwella surni, a chyfogi bwyd; yn feddyginiaeth werthfawr rhag y clefyd melyn, y glas-glwyf, y parlys, y dirdyniadau, a'r gymalwst; yn iachau y cryd, yn cryfhau y llygaid, yn lladd llyngyr; yn agor rhwystrau yn yr afu a'r ddueg, ac yn llaesu gloesion yn yr ochrau a'r cefn, a phoenau yr ymysgaroedd; yn dda rhag llewygon y fam, ac anhwylderau y rhyw fenywaidd, ac yn feddyginiaeth enwog rhag poen gwastadol yn y pen. Hefyd, mae yn gwella pangau o glwyf y gareg, yn gwrthladd gwenwyn, ac yn iachau brathiadau creaduriaid gwenwynig, yn attal gwaed o'r genau a'r ffroenau, yn dda rhag poeri gwaed, a dwfr gwaedlyd; ac felly yn dda hynod pan wedi tori gwythien yn fewnol trwy gwympiadau. Yn allanol, mae yn dda yn sugaethan i dynu drain ac esgyrn

drylliedig o'r cnawd, i iachau hen glwyfau a hen gornwydon o bob math. Rhoddwch ddyrnaid o honynt mewn *tea-pot* canolig o faint, a llenwch ef â dwfr berwedig: yfwch ddarlwnc da o hono dair gwaith y dydd, ac fe iacha eich corph, ac a gyfyd eich ysbryd.

## Crogedyf.—*Dropwort.*

PLANHIGYN tlws yw hwn, ag arno sypynau o flodau gwynion, a'i ddail wedi eu rhanu yn rheolaidd: mae tua dwy droedfedd o uchder, y gorsen yn gron a rhychiog, cref a changhenog. Mae y dail yn fawrion a rhanedig i amrywiol o ranau: codant yn benaf o'r gwraidd, a safant ar gyrs meinion. Mae ychydig o ddail bychain ar y cyrs; mae y blodau yn fychain, ond yn sefyll yn sypynau mawrion ar flaenau y cangau: maent yn wynion y tu fewn, ac yn gyffredin yn gochion y tu allan. Mae yr hadau yn llydain, ac amrywiol o honynt yn nghyd. Gwneir i fyny y gwreiddyn o gryn nifer o dalpau bychain, yn cael eu sicrhau wrth eu gilydd gan edafedd meinion. Y gwreiddyn yw y rhan a ddefnyddir fwyaf: mae yn dda i laesu poen y graian, gan ei fod yn cynhyrfu y dwfr yn effeithiol a diogel iawn. I'r dyben hwn rhaid yfed y sudd, neu wneuthur tê cryf o'r gwreiddyn îr. Wedi ei sychu, gellir gwneuthur powdr o hono i attal y gwynion *(whites)*, a rhwymo yr ymysgaroedd, yr hyn a wna yn raddol a diogel.

## Cwyrwialen.—*Privet*, *Cornel Tree.*

PREN yw hwn sydd yn aml mewn gerddi, o faint pren afalau, ac yn ganghenog fel yntau; mae y rhisgl yn llwyd, a'r cangau yn wydn; y dail yn llydain, yn hwy un ffordd na'r llall, o liw gwyrdd teg, a'u hymylau yn gyfain; a blodau melynion bychain arno. Mae y grawn tua maint Ceiriosen, i raddau yn hirgul; maent yn goch a llawn o sylwedd tyner, eu rhisgl o natur rwymol, a cherig mawrion ynddynt. Blodeuant yn gynar, ac addfeda y ffrwyth yn yr Hydref. Gosodir y coed yma i ranu gerddi oddiwrth eu gilydd, a thyfant yn berth hardd.

Y ffrwyth yn unig ddefnyddir; gellir ei sychu a'i ddefnyddio, neu gellir tynu ei sudd a'i ferwi gyda siwgr; yn y naill ffordd a'r llall mae yn oeri ac yn rhwymo yn gymedrol; mae yn feddyginiaeth dyner a hyfryd mewn twymynon y byddo y perfedd yn rhydd.

Mae math arall o'r pren hwn yn tyfu yn wyllt yn y perthi, a elwir yr un fenyw; mae hwn tua phum troedfedd o uchder, a dail llydain a grawn duon arno; ni ddefnyddir hwn yn feddyginiaeth. Mewn rhai parthau o'r India Ddwyreiniol mae y bobl yn meddwi pysgod â rhisgl pren cyffelyb i hwn, trwy osod cryn lawer o hono mewn llyn: dichon y gwnelai yr un sydd gyda ni yr un peth pe defnyddid ef i'r perwyl hwnw.

## Cyngafan, Gwlydd y Perthi, Llau y 'Ffeirad.—*Cleavers.*

Mae y llysieuyn hwn yn tyfu mewn hen berthi, a hyny yn gynar yn y Gwanwyn. Corsen betryal, dyner, yn arw iawn i'r teimlad, a dail meinion bychain, yn arw i'r teimlad fel y gorsen. Maent yn dringo y perthi yn uchel iawn weithiau, a blodau gwynion bychain yn dyfod allan tua blaen y canghenau, a math o gnapiau yn canlyn yn gelyd iawn pan yr addfedont, ac os cânt afael yn eich dillad nid rhwydd yr ymadawant. Mae y llysieuyn hwn yn dda hynod i'w gymeryd yn y Gwanwyn i buro y gwaed, gwrthsefyll gwenwyn, ac i wella y clefyd melyn. Yn allanol, efe a wellha pob math o doriadau newydd a hen, trwy attal y gwaed ac uno y toriad drachefn, ond ei bwyo a'i osod arno. Hefyd mae yn dda i bob math o gornwydon hen a diweddar, yn oeri ac yn gostwng chwydd. Mae yn hollol ddiniwed, ac yn hawdd ei gael. Defnyddiwch lawer o hono yn y Gwanwyn i weithio pob hylif drwg o'r gwaed.

## Cynffon y Cabwllt, Llysiau Cadwgan, Gwell na'r Aur.—*Valerian.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd yr ardd; ac yn gwbl adnabyddus gan ei berchenog, fel nad oes eisiau cymeryd y drafferth o'i ddesgrifio. Mae o natur gynes, ac yn dda hynod mewn pob math o anhwylderau oerllyd, megys y

graianwst a'r rhefrwst; yn symud ymaith bob rhwystrau ag a fyddo yn achosi poen yn yr ochrau a'r ddwyfron; yn carthu ymaith y llysnafedd o'r pibau gwynt, ag sydd yn achosi diffyg anadl a pheswch. Byddai yn dda iawn i ddynion sydd â rhyw goglais a chyfyngder yn y pibau gwynt, wneud defnydd mawr o hono. Hefyd, mae yn gwrthladd gwenwyn, y pla, a phob math o dwymynon cydiadol, trwy yfed ei drwyth; yn chwalu gwynt o'r ymysgaroedd, yn iachau archollion mewnol; mae yn dda yn allanol i iachau hen glwyfau, ac i dynu drain a darnau o goed neu esgyrn o'r cnawd, trwy ei bwyo gyda bloneg a'i osod ar y lle. Mae hwn eto yn eithaf diniwed, a gellwch fod mor eofn ag y mynoch arno, a'i yfed fel tê.

## Cynffon y Llygoden, y Fyddarlys, Llysiau Pentai. —*House Leek.*

Mae y llysieuyn hwn yn tyfu ar hen welydd, ac ar benau tai; ac yn ddigon adnabyddus i bawb, fel nad oes eisieu ei ddesgrifio. Mae yn llysieuyn oeraidd, ac felly yn feddyginiaeth effeithiol rhag pob math o fflameg, yn fewnol ac yn allanol; yn oeri y gwaed, yn llarieiddio yr ysbrydoedd, ac yn dofi syched; yn dda mewn twymynon poethion, yn attal pob hylif poeth i'r llygaid, ac yn dda iawn rhag yr awel neu y *blast.* Hefyd mae yn dda hynod rhag pob math o anhwylderau croenawl, megys y darddwden, a phob math o losgiadau gan dân a dwfr, trwy wneuthur eli o hono, a'i gymwyso at y manau poenus ddwywaith y dydd. Mae ei ddaîl, a'u gosod ar ddefaid a chyrn, yn eu meddalhau, ac yn eu llwyr ddifa gydag amser; a dywedir eu bod yn gwella llosg Danadl, a brathiadau gwenyn, trwy *rwbio* y dail ar y manau poenus. Byddai hen bobl yn fynych yn diferu eu sudd i'r clustiau, i wella swn a byddardod; ond byddai yn dda chwistrellu y clustiau dranoeth a dwfr claiar a sebon, a rhoddi gwlân du ynddynt, rhag ofn bod y cŵyr wedi caledu ynddynt.

## Cywarch.—*Hemp.*

Mae gwragedd ein gwlad yn lled gyffredin yn adnabod y planhigyn hwn; ac felly ni raid ei ddesgrifio. Mae yn cael

ei hau tua diwedd Mawrth neu ddechreu Ebrill, ac addfeda yn Awst neu Medi. Gellir defnyddio hwn yn feddyginiaethol; ond dylid bod yn ochelgar rhag cymeryd gormod o ddogn. Mae ychydig o'r hadau wedi eu berwi mewn llaeth, yn rhinweddol i wasgaru gwynt, ac esmwytho peswch sych. Mae y sudd, neu y sylwedd a geir o'r hadau trwy eu mwydo, yn rhinweddol i wella y clefyd melyn, ond ei ddefnyddio yn nechreu y clefyd: mae yn symud rhwystrau o'r bustl; bernir ei fod hefyd yn effeithiol iawn i ladd llyngyr. Ond mae llysiau ereill yn ymyl pawb agos, sydd yn ateb y dybenion hyn, ag y byddai yn fwy diogel a hawdd eu defnyddio, gan hyny ni chwanegir yn ei gylch.

## Chwerwlys.—*Wormwood.*

Mae y llysieuyn hwn yn tyfu yn ymyl hen welydd, o gylch tai, ac weithiau yn nghonglau caeau; ei gorsen yn gron, ei ddail yn llawn toriadau a bylchau, ei arogl yn gryf, a'i flas yn chwerw iawn. Nid yn gyffredin y gwelir gwell llysieuyn na hwn yn tyfu. A ganlyn yw rhai o'i brif rinweddau:—Chwalu ac arllwys gwynt o'r ymysgaroedd, awchu y cylla at fwyd, a'i nerthu i'w dreulio, ac felly peri chwant bwyd, puro y gwaed, codi yr ysbrydoedd, a chryfhau yr holl gyfansoddiad; ac nid oes gwell llysieuyn yn tyfu i ladd llyngyr; os byddwch yn barnu bod llyngyr yn y plant, rhodder tê *Wormwood* iddynt, ac efe a ladd y llyngyr ac a iacha y plant. Mae yn feddyginiaeth gyffredinol; gwna fyd o les i ddynion braidd yn mhob anhwyldeb ag y mae y natur ddynol yn ddarostyngedig iddo. *Byddwch eofn arno.*

## Chwerwlys yr Eithin, y Fedwen Chwerw, Llysiau'r Bystwn, Seads Gwylltion.—*Wild Sage.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd y maes gwyllt, ac yn hoffi hen gloddiau, perthi, ac eithin; corsen betryal, yn tyfu yn rhychwant neu droedfedd o hyd, a dail llwydion yn tyfu arni, dwy ddalen ar gyfer eu gilydd yn mhob man; ar flaen y gorsen mae rhyw fath o flodau gwanaidd eu lliw yn dyfod allan, a hadau yn eu canlyn. Mae y llysieuyn hwn yn dda hynod i chwalu gwaed glydiog oddifewn, wedi ei achosi gan gwympiadau, ac yn asio y gwythienau a dorwyd; yn

peri i'r dwfr gerdded, ac yn agor llifddorau y chwys; ac felly yn feddyginiaeth i'r dyfrglwyf, y parlys, a'r clefyd anllad. Yn allanol, mae yn dda i ostwng chwydd mewn unrhyw ran o'r corph, trwy wlychu y manau â'i drwyth yn gynes. Mae yn llysieuyn iachus a diniwed.

## Chwys Arthur, Llysiau y Gwenwyn, Erwaint.—*Goat's Beard.*

Llysieuyn gwerthfawr iawn yw hwn, tra chyffredin yn ein meusydd, a dail culion gwyrddion iddo; mae dail hirion i'r cwpan o gylch ei flodau melynion. Tyfa i tua throedfedd a hanner o uchder: y dail yn llydain yn y bôn; mae corsen gron, gref, a syth iddo, yn ymranu tua'r blaen i ddwy neu dair cangen. Saif y blodau ar flaen y cyrs; maent o liw melyn gwan prydferth; y maent yn gauedig dros y rhan fwyaf o'r dydd, fel pe na byddent ond dechreu tori allan. Mae ar ŷr hadau fân-blu teg, cyffelyb i hadau Dant y Llew, a phan yn addfed, safant ar flaen y gorsen ar ben crwn fel y rhai hyny. Mae y gwreiddyn yn wyn a hir; mae yr holl blanhigyn yn llawn o sudd llaethog, yr hwn, wedi ei adael ychydig o amser yn yr awyr, a ddaw yn felyn a thew fel hufen.

Y gwreiddyn ddefnyddir; mae yn dreuni mawr nad ystyrid ei werth, ac na ddefnyddid ef yn fwy cyffredin. Mae ei flas mor hyfryd, fel y gellid ei arferyd ar ein byrddau fel moron cochion *(carrots)*, a gwreiddiau ereill; mae yn rhagori arnynt yn ei rinweddau. Mae yn beth nodedig i adferu grym y cyfansoddiad; a buddiol iawn fyddai i bobl ar ol cystudd hir ei ddefnyddio. Berwer ef mewn dwfr, ac yna torer ef yn ddarnau bychain, a berwer ef drachefn mewn llaeth, rhodder ychydig siwgr ynddo, a bydd yn ymborth meddyginiaethol o'r fath oreu.

## Dagrau Addaf.—*Bladder Nuts, Pistach Nuts.*

O wledydd y dwyrain y ceir y cnau hyn; maent yn rhinweddol iawn i symud rhwystrau yn yr afu, a gweithio trwy y dwfr. I bersonau wedi gwanhau trwy gystudd maith maent yn werthfawr neillduol. Naddwch hwynt yn asglodion, a defnyddiwch hwynt fel tê.

## Dail Llydain y Ffordd, Llyriaid.—*Plantain.*

Mae y llysieuyn hwn yn adnabyddus i'r werin; tyfa mewn gweirgloddiau, ac yn ymyl ffyrdd; ei ddail yn llydain a byrion; mae yn ei brydferthwch tua mis Mehefin, a'i had yn addfedu yn fuan wedi hyny. Cyfyd ei ddail oll oddiar ei wraidd; nid oes un o honynt ar y gorsen. Mae yn llysieuyn gwerthfawr iawn, ac mae natur wedi ei roi yn gryn gyffredinol. Mae ei sudd wedi ei loywi, a'i yfed dros amrywiol o ddyddiau yn olynol, naill ai wrtho ei hun, neu mewn rhyw wlybwr, yn effeithiol iawn i iachau digroeniad yn y perfedd, i esmwytho poen a achosir gan liflyn y pen *(rheum)*; ettyl ddyn i boeri gwaed, a rhediad gwaed o'r genau, symuda afiechyd o'r bledren, ac ettyl archoll i waedu gormod. Mae yn gwella afiechyd yr ysgyfaint, a pheswch a achosir gan boethder. Mae trwyth neu bowdr wedi ei wneuthur o'r gwreiddiau neu yr hadau, yn llawer mwy rhwymawl i'r gwahanol ddybenion a nodwyd na'r dail. Bernir fod y llysieuyn hwn yn dda i wella y dyfrglwyf, y clefyd melyn, ac i symud rhwystrau o'r afu a'r arenau. Gwna ei sudd, ond ei ddiferu i'r llygaid, oeri poethder ynddynt, a difa pilen a fyddo wedi tyfu drostynt; mae yn iachau poen yn y clustiau, ond ei ddiferi iddynt. Mae y sudd a'r trwyth o les mawr i iachau hen glwyfau peryglus, a briwiau yn y genau neu ryw le arall, ac yn dofi poen clwyf y marchogion. Mae powdr wedi ei wneuthur o'r dail sychion, a'i gymeryd mewn rhyw wlybwr, yn lladd llyngyr yn y bol; ac, wedi ei ferwi mewn gwin, yn lladd pryfaid a fo wedi magu mewn hen archollion drewllyd. Mae y llysieuyn hwn yn un rhagorol o dda i wellhau clwyfau mewnol ac allanol. Prif feddyginiaeth yr Americaniaid rhag brathiadau pob math o seirph, yw tair wns o wraidd Llydain y Ffordd, a'r un faint o *Horehound*, a'u berwi mewn dau chwart o ddwfr hyd oni byddo wedi dyfod i'r hanner, ei ranu yn dri dogn, a'i roi i'r claf y tri boreu nesaf i'w gilydd; a gwneud yr un modd eilwaith, os bydd eisieu, hyd oni wellhao y claf. Dywedir fod ei wraidd, wedi ei wneuthur yn bowdr, a'i roddi mewn gwin, neu ei gymysgu â syrup, yn dda i wella y gynddaredd.

## Dail y Cwrwl, Diodwydd, Pren y Gerwyn.—
*Laurel or Bay Tree.*

TYFA y pren hwn yn uchel yn Spain ac Itali, ei wledydd naturiol; er nad yw yn bren mawr gyda ni, eto addurna lawer annedd, gan fod ei ddail yn aros yn wyrddion trwy y Gauaf: blodeua yn Mai, ac addfeda ei rawn yn niwedd yr Hydref. Tybiai llawer o'r hynafiaid, oddiar ofergoeledd gwrthun, fod y pren tlws hwn yn cadw dewiniaid, ysbrydion drwg, mellt a tharanau, rhag niweidio dyn lle y tyfai! Ond mae yn rhinweddol fel meddyginiaeth: mae tê neu bowdr y grawn neu y dail, yn effeithiol i ddofi y coluddwst, i gynhyrfu y dwfr, a chodi yr ysbrydoedd. Byddai dognau bychain o hono yn llesiol i bersonau yn y parlys, ac i wella y cryd. Gellir rhoi y dail îr mewn ffwrn, a'u malurio, ar ol iddynt grasu.

## Dail Du, Dail Duon Da, Craith, Un-nos yr Ornerth.—*Self-heal.*

MAE hwn yn tyfu yn gyffredin mewn coedwigoedd ac yn ymyl ffyrdd. Planhigyn gwyllt bychan ydyw, ei ddail o liw gwyrdd tywyll, a sypynau o flodau gleision arno. Mae tua chwech modfedd o uchder; y gorsen yn betryal a blewog; saif y dail yn bârau arni, ond anfynych y mae arni fwy na dau neu dri phâr; cyfyd y rhan fwyaf o'r dail o'r gwraidd; mae y dail yn hirgul, llydain, a'u hymylau yn gyfain. Rhai bychain yw y blodau; safant yn fath o benau bychain, a'u cwpan yn gochlas; y gwreiddyn yn llawn o edafedd meinion.

Llysieuyn gwerthfawr yw hwn. Defnyddier tê o hono yn fewnol at archollion mewnol, a phlastyr at glwyfau yn y cnawd. Mae trwyth wedi ei wneuthur o hono ef, Glesyn y coed, a Chlust yr arth, yn rhinweddol iawn i olchi a iachau clwyfau, dofi poethder, ac attal rhediad gwaed mewn archoll. Mae y sudd yn beth rhagorol i laesu poen yn y pen, ond golchi y talcen ag ef. Dywedai rhai o'r hynafiaid *na buasai angen un meddyg ar y neb a feddai hwn a Chlust yr arth.*

## Dant y Llew, Dant y Ci.—*Dandelion.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd y maes, ac yn tyfu yn mron yn mhob man, ar gloddiau, ac ar hyd caeau, lle y bo pridd gweddol o dda; mae ei wreiddyn yn grwn ac yn hir, a'r dail yn feinion, hirion, yn feinach yn y bôn na'r blaen, yn llawn bylchau a thoriadau, rhai yn fwy a rhai yn llai, a math o sudd chwerw, gwyn, fel llaeth ynddynt, a'r gorsen yn gron, yn fain, ac yn ddisglaer, a blodeuyn melyn arni; ac ar ol y syrthio, mae math o blyf ysgafn yn dyfod yn ei le, a hedyn wrth bob plyfyn; gobeithio fod hyn yn ddigon i beri i bawb ei adnabod. Ei brif rinweddau yw y rhai hyn :—Agor rhwystrau yn yr afu a'r ddueg, ac felly iachau y clefyd melyn a'r pruddglwyf, agor pibellau y dwfr, a iachau pendduod, ac archollion yn y bledren, a rhodfeydd y dwfr; dofi ac oeri gwres mewnol yr afu a'r ysgyfaint, llaesu pangau y cryd, a pheri cwsg. Y maent yn dda yn holl anhwylderau y croen, megys y crach a'r crafu, &c.; y ffordd oreu i'w defnyddio yw dodi chwart o ddwfr berwedig ar ddyrnaid o'r dail a'r gwraidd yn îr o'r ddaear, ac yfed hanner pint o hono, pan oero, ddwywaith y dydd; neu gellwch ei gymysgu â rhyw lysiau ereill o'r un natur.

## Dant y Llew Lleiaf.—*Cichory, Succuory.*

Codir hwn yn aml mewn gerddi, er nad yw yn dlws iawn; mae yn agos i lathen o hyd; y gorsen yn gron, rhychiog a chref, o liw gwyrdd, ac yn flewog. Mae y brif ddail yn tyfu oddiar y gwraidd; dail hirion a chulion ydynt, a bylchau mawrion yn eu hymylau; mae y rhai sydd ar y cyrs yn llai. Mae y blodau o'r un dull a blodau y *Dandelion*, ond eu bod yn lâs; mae mân-blu wrth yr hadau. Tyfa y blodau ar ochrau y cyrs, ac nid ar y blaenau, fel rhai Dant y Llew. Mae y gwreiddyn yn hir, a llwyd ar y wyneb; yn wyn o fewn, yn llawn o sudd llaethog.

Mae trwyth dyrnaid o'r dail wedi eu berwi neu eu mwydo mewn dwfr, a'i yfed yn y bore pan yn wag, yn rhinweddol iawn i garthu ymaith lysnafedd a llynoedd drwg, i agor llwybrau yr afu, y bustl, a'r ddueg, i iachau y clefyd melyn, a dofi poethder yn yr arenau a'r dwfr, ac felly gwna les

annhraethol i rai yn dyoddef yn y dyfrglwyf. Gwna hefyd gryfhau y corph ar ol nychdod hir, a symud ymaith effeithiau ymborth afiachus. Ond berwi ychydig o'r dail mewn gwin, ceir trwyth llesiol iawn i wella cryd maith a nychlyd; ond gwneuthur powdr o'r hadau, a chymeryd *dram* o hono mewn ychydig o win cyn y pang, gwna gynorthwyo llawer i adferyd iechyd. Gan fod yr un sydd yn tyfu yn wyllt yn y maesydd yn chwerwach, mae yn fwy cryfhaol i'r cylla a'r afu.

## Danadl.—*Nettles.*

Mae y llysieuyn hwn yn ymhyfrydu mewn hen gloddiau breision. Dyma lysieuyn ag y gellwch ei adnabod yn y noson dywyllaf heb oleu, ddim ond dodi eich llaw i gyffwrdd ag ef. Ychydig o werth yw Danadl yn ngolwg llawer, ond eto mae iddynt rinweddau mawrion, megys puro y gwaed, a charthu ymaith y llysnafedd oer a gwlyb a adawodd y Gauaf ar ol; y mae yn estyn yr anadl, ac yn gwella poen yn gwddf a'r genau. Isgell Danadl a mêl sydd feddyginiaeth dda pan y byddo croen y genau yn codi, a'r gwaed yn colli, i olchi y genau ag ef. Mae hadau Danadl yn hynod o dda i gynhyrfu y dwfr a'r mislif, ac yn treulio y graian a'r gareg o'r arenau a'r bledren; yn lladd llyngyr, yn gostwng chwydd y ddueg, ac yn llaesu poen yn yr ochrau; yn atal gwaedu o'r trwyn a'r genau, ac yn dda iawn i wella brathiadau pryfaid gwenwynig; yn gwrthladd gwenwyn yn y cylla, o ba natur bynag y byddo, pa un ai mwnol neu lysieuol, megys *hemlock* neu *henbane* ac yn dda iawn yn y clefydau cysglyd, megis y *lethargy*, &c., trwy gymeryd yr hadau, a golchi y pen yn fynych â'r trwyth yn gynes. Mae ysigo y dail a'u rhoi yn y ffroenau yn atal y gwaed; maent yn dda i wella hen glwyfau llygredig o bob math, hen gornwydydd, y cancer, hen dyllau ysol yn y cnawd, y crafu o bob math, a'r gwahanglwyf ei hunan, trwy olchi y manau â'i drwyth yn gynes; hefyd, iachau clwyfau a thoriadau newydd, trwy rwymo y dail yn leision arnynt. Byddai yn dda i'r rhai ag ydynt wedi ysigo eu cymylau, ddodi y dail wedi eu pwyo wrth y lle; gostyngant y chwydd, a chryfhant yr aelod. Hefyd, sychant a gwellhant y cymalwst; maent yn dda rhag poenau a gwaew yn yr aelodau.

## Derwen.—*Oak.*

Mae y pren hwn yn drigianydd naturiol yr ynys hon, yn frenin y goedwig, a bu yn eilun ein hynafiaid. Mae y dderwen yn amrywio yn mhob gwlad. Cyfrifa Llysieuwyr gant a hanner o rywiogaethau o hono; ond o'r holl rywiogaethau nid oes un rywiogaeth yn fwy gwasanaethgar na deri Prydain, nac un pren yn fwy naturiol i'r wlad hon nag ef: gwelir ef yn tyfu yn mhob math o ddaear, ar lechweddi y mynyddoedd yn gystal ag ar y dyffrynau breision; digon tebyg bod yr ynys hon wedi bod agos yn orchuddedig gan dderi cyn hyn. Mae traddodiad mewn amrywiol gymydogaethau am lwyni mawr o dderi yn tyfu ar ben y mynyddoedd; ond yn amser y rhyfeloedd torwyd a llosgwyd hwynt, ac fel yr oedd y wlad yn cael ei phoblogi, gwnawd hyn gan y Cymry eu hunain; gwelir deri o anferth faintioli lle mae mawndir llaith wedi suddo i'r ddaear, pa rai a dorwyd i lawr rywbryd er mwyn clirio y lle. Nid oes un pren yn ein gwlad mor wasanaethgar â'r dderwen. Mae pob rhan o honi yn werthfawr: gwelir cronglwydydd y tai hynaf yn ein gwlad wedi eu gwneud o'r coed hyn, a'r dodrefn mwyaf oedranus yn y deyrnas wedi eu gwneud o dderi ein gwlad, heb son am y miloedd llongau a adeiladwyd â'r deri, pa rai oedd yn gestyll cadarnach ar y môr mewn tymestl o wynt, ac yn wyneb peirianau rhyfel, na holl longau y byd. Gellir dweyd mai y pren dderwen a wnaeth Lloegr yn feistres ar y byd; y dderwen oedd castell ein morwyr yn mhob perygl. Hefyd, pa faint o wasanaeth i gymdeithas a wneir â rhisgl y pren hwn i dewychu crwyn, a'u gwneud yn wydn a pharhaus i'w gwisgo mewn esgidiau a phethau ereill. Nid oes dim eto wedi ei gael allan yn debyg i risgl y deri i wneud lledr da a diddos.

Heblaw yr holl wasanaeth a wna y pren hwn i gymdeithas yn y ffordd hon, mae ynddo rinweddau meddygol mawrion. Mae yr holl bren yn rhwymol a chryfhaol; gwna y rhisgl, neu y mês, wedi eu malu a'u berwi mewn llaeth, attal pob math o ryddrediadau a gwaedlifau. Peth hawdd iawn fyddai i ddynion gadw ychydig o'r mês yn eu tai at eu gwasanaeth pan y byddo angen. Maent yn dda hefyd rhag twymynon dyspeidiol, ac i fwydo unrhyw ran o'r corph lle y byddo ysigdod a gwendid. Pa beth sydd yn hawddach i'w gael, ac

yn fwy diniwed? Os na bydd y mês genych, chwi a ellwch ddefnyddio y rhisgl, a'i ferwi at eich gwasanaeth mewn llaeth yn fewnol, ac mewn dwfr yn allanol. Mae y dail hefyd yn dda; dalen dderwen wedi sychu oedd gan yr hen Gymry i wella archoll ar grymog.

Hefyd, mae yn burion dywedyd gair wrth y gwragedd. Mae blawd llîf derwen yn un o'r pethau goreu i liwio y lliw rhuddgoch; ag ef y lliwir yr holl ffwstian a welir yn y siopau. Yr un modd lliwia wlân neu edafedd, wrth roddi *Copperas* gwyrdd am ei ben, yn lliw rhuddgoch tywyll parhaus ac arosol. Gellwch ddefnyddio y rhisgl yn lle y blawd llîf. Nid oedd mor rhyfedd bod ein hynafiaid yn parchu y dderwen. Nid yw y pethau a enwyd ond ychydig iawn o *lawer* o rinweddau y pren hwn.

## Derwen Caersalem.—*Oak of Jerusalem.*

Nid yw y planhigyn hwn gartref yn ein gwlad ni; eto, codir ef mewn gerddi yma; mae ei ddail rywbeth yn debyg i ddail y derw; mae blodau melynion bychain arno. Mae y gorsen tua throedfedd a hanner o uchder; er ei bod yn lled gron, mae i raddau yn onglog, neu yn rhychiog, o liw gwyrdd gwan; mae y dail yn wyrdd-felyn, a'u gwynebau yn arw hirgul, a'u hymylau yn fylchog. Mae arno lawer o flodau bychain yn fath o dywysenau ar flaen y canghenau. Mae i'r holl blanhigyn, yn enwedig yr impiau ieuainc ar y rhai y mae y blodau, arogl hyfryd.

Mae tê y llysieuyn hwn yn îr, yn feddyginiaeth ragorol i wella diffyg anadl, crygni, a pheswch.

## Derwlys, Derlys.—*Germander.*

Nid yw hwn ond llysieuyn bychan, yn tyfu yn wyllt mewn rhai parthau o'r wlad hon, ond a gedwir yn fynych mewn gerddi o herwydd ei rinweddau. Mae y cyrs yn weinion, yn bedair onglog, blewog a gwlanog, o liw gwyrdd tywyll: maent mor weinion fel mae yn anfynych y safant i fyny. Maent tuag wyth neu ddeg modfedd o hyd; y dail yn fychain a llydain, a thoriadau yn eu hymylau; blodau bychain sydd iddo, yn sefyll ar flaenau y cyrs, yn sypynau bychain.


*Water Lily*


*x Eye*


*Mother Wort*


*T. Mustard*


*W. Mullien*


*Persicaria*


*Mug Wort*


*Mother of Thyme*


*Meadow Sweet*


*Marsh Mallow*

Mae arogl annymunol gan yr holl blanhigyn. Mae i'w ddefnyddio yn ir neu yn sych. Bu unwaith mewn bri mawr fel peth effeithiol i beri chwys, ac i ddiogelu rhag twymynon heintus, ond ni wneir llawer o sylw o hono yn bresenol gyda golwg ar hyn. Tyfa un math o'r llysieuyn hwn ar hen furiau. i'r hwn y mae blodau cochion; a math arall mewn lle gwlyb. Mae trwyth *(infusion)* o'r blaenaf o'r ddau, hyn, yn rhinweddol i esmwythau peswch, diffyg anadl lliflyn y pen *(rheum)*, ac attaliadau yn yr ysgyfaint. Mae powdr yr olaf yn effeithiol iawn i ladd llyngyr; a thrwyth o hono yn dda i dwym-olchi hen glwyfau braenllyd.

## Distrewlys.—*Sneeze-wort.*

Llysieuyn gwyllt prydferth yw hwn, a'i flodau fel blodau Llygaid y dydd, ond yn llai, a dail culion bylchog arno, dwy droedfedd o uchder, a chorsen gron, gref, a syth iddo, ac ychydig ganghenau arni. Mae y dail yn lluosog, yn wasgaredig ar hyd y gorsen, yn eirwon, ac o liw gwyrdd goleu. Sait y blodau ar flaen y gorsen mewn pen crwn.

Mae y dail wedi eu sychu a'u gwneuthur yn bowdr, a'i gymeryd fel trewlwch, yn feddyginiaeth ragorol rhag poen yn y pen; mae y gwreiddiau o natur wresog; ond dal darn o'r gwreiddyn yn y genau, gwna symud ymaith y llynoedd drwg o'r pen, ac felly gwella y ddannodd.

## Dorfagl, Llygad Siriol, Llygad Crist, Gloywlys, Effros.—*Eye-bright.*

Gwelir hwn yn mhob man lle mae daear sych, weddol o dda; ond nid ydyw ond llysieuyn bychan, yn llawn bylchau, a blodau gwynion yn dyfod allan tua blaen y gorsen, a brychau tywyll ynddynt. Nid yw yr holl lysieuyn yn rhychwant o hyd, mae ei flas yn chwerw; ceir cyflawnder o hono mewn caeau gwair hir. Nid oes gwell llysieuyn yn tyfu at y llygad na hwn; pan y byddo rhyw boen a gwendid ynddynt, a dallineb yn dechreu. Y ffordd oreu yw ei gymeryd fel tê hwyr a boreu. Gellwch ddiferu peth o'i sudd i'r llygad, os mynwch. Dywedir bod y llysieuyn hwn yn unig wedi adferyd eu golwg i rai pan oeddynt yn ddall hollol: mae hefyd yn cryfhau yr ymenydd a'r cof. Byddai yn dda i hen bobl wneuthur defnydd mawr o hono.

## Draenen Ddu.—*Black thorn.*

DAIL tyner y pren hwn, wedi eu sychu, ynt rai da iawn i wasanaethu yn lle tê. Ond mwydo dyrnaid o'r blodau mewn dwfr berwedig, ceir carth-ddiod esmwyth a diniwed. Mae y ffrwyth yn rhwymawl, ac yn llesiol pan fyddo yn gyfaddas. Dywedir fod pigiad y draen yn wenwynllyd, yn enwedig yn amser y cynhauaf.

## Drain Yspinys, Pren Melyn.—*Barbary Tree.*

MAE y planhigyn hwn yn gyffredin mewn gerddi ; mae yn bren canghenog, a thyfa i wyth neu ddeg troedfedd o uchder; mae rhisgl llwyd-wyn arno, ei ddail yn hir-gul, a'u hymylau yn fylchog ; gan ei fod yn lled adnabyddus, ni raid manylu.

Y rhisgl mewnol ddefnyddir yn feddyginiaeth ; mae hwn, wedi ei ferwi mewn gwin gwyn neu ddwfr, ond yfed gwydriad bychan o'r trwyth bob boreu, yn feddyginiaeth ragorol i wella unrhyw grach a fyddo ar y corph, cornwydon, y clefyd melyn, &c. Mae yn rhinweddol hefyd i oeri y gwaed, yr afu, i attal clefyd y gwaed, ac i fagu awch at fwyd; mae y grawn yr un mor rhinweddol, ac yn fwy hyfryd.

## Dringol.—*Sorrel.*

PLANHIGYN cyffredin mewn meusydd a gerddi, ag iddo ddail llydain, hir-gul, cyrs rhychiog, a thuswau o flodau cochlyd : mae tua throedfedd a hanner o uchder. Mae y gorsen yn gref a changhenog, y dail o liw gwyrdd-tywyll, a'u hymylau yn ddifwlch : saif y blodau ar flaenau y cyrs ; y gwreiddyn yn fychan : mae blas sur i'r holl lysieuyn.

Mae y dail, ond eu cymeryd fel bwyd-lysiau, yn feddyginiaeth ragorol i wella y clefri poeth, a dofi unrhyw boethder yn y gwaed ; adnewyddu yr ysbrydoedd pan wedi llwfrhau trwy bangau cryd poeth, i awchu cylla gwan at fwyd. Gwnant buro y gwaed, a lladdant lyngyr. Mae yr hadau o natur rwymol, a gellir defnyddio eu powdr pan fyddo yr ymysgaroedd yn rhy rydd. Gellir defnyddio powdr neu drwyth y gwreiddiau îr i'r holl ddybenion uchod. Bernir fod

y llysieuyn, ei hadau, a'i wreiddiau, yn nerthol iawn i wrthwynebu gwenwyn. Mae trwyth y gwreiddyn yn effeithiol rhyfeddol i wella y clefyd melyn, i symud graian a'r gareg o'r arenau. Ond mwydo y blodau mewn gwin, ac yfed y trwyth, effeithia yn nerthol i wella y clefyd du *(Black Jaundice)*, ac unrhyw archoll a ddichon fod yn yr ymysgaroedd, &c.

Mae ei sudd, wedi ei gymysgu ag ychydig o finegr, a'i chwareu yn y genau, yn rhinweddol iawn i wella chwydd yn y gwddf, ac archollion yn y genau.

Mae dau fath arall o hono, lled debyg i hwn yn eu rhinweddau; un bychan, yn tyfu ar dwyni sychion; y llall yn fawr, a'i ddail yn llydain; mae hwn yn well na'r llall. Mae un arall gwahanol iawn iddynt oll, yr hwn y rhaid ei ddesgrifio wrtho ei hun, sef—

## Dringol y Coed.—*Wood Sorrel.*

Mae hwn yn blanhigyn tlws iawn, ac yn hynod am ei ddail gwyrddion goleu, a'i flodau prydferth. Cyfyd cryn lawer o ddail oddiar y gwreiddyn; ceir tair o honynt, fynychaf, gyda'u gilydd, bob un ar gorsen wahanol, o gryn hyd, o liw cochlyd; mae y ddalen ar ffurf calon, yn plygu i lawr; mae y blodau yn wynion, ac ychydig gochi ynddynt. Safant hwythau hefyd ar gyrs gwahanol, yn codi oddiar y gwreiddyn. Mae yr hadau yn felynion; a phan yn addfed, syrthiant wrth y cyffyrddiad lleiaf: y gwreiddiau ydynt fath o linynau melynion bychain.

Mae yn tyfu gerllaw ac mewn coedydd, lle y byddo tir iraidd a chysgodol, ac na byddo yn agored iawn i'r haul: blodeua yn Ebrill a Mai. Gwasanaetha Dringol y Coed i'r holl ddybenion ag y gwna y llall, ac mae yn fwy effeithiol i gadw rhag braeniad yn y gwaed, archollion yn y genau, a rhanau ereill o'r corph, i dori syched, cryfhau cylla gwan, peri awch at fwyd, ac attal cyfogiad. Mae yn rhinweddol i attal clefydau heintus i afaelu: mae y sudd yn effeithiol iawn i ddofi y fflameg, a darostwng chwydd poeth; mae yn rhinweddol rhyfeddol, ond ei droi yn y genau, i wella clwyfau mewnol, attal rhediad y gwaed o frathiadau yn ngwahanol ranau y corph, a phuro y gwaed.

## Droedrydd, Llysiau'r Llwynog, Mynawyd y Bugail, Pig yr Aran, Llysiau Robert.—*Crane's Bill, Herb Robert.*

MAE y llysieuyn hwn yn wastad i'w ganfod ar hen gloddiau cysgodol, yn mhob parth o'r wlad; y dail yn fân ac yn llawn toriadau, canghenau eiddilaidd, yr holl lysieuyn yn gochlyd ei liw, a blodau mân ar flaen y canghenau, o liw coch, a choden hir bigfain yn dyfod yn lle y blodeuyn, yn debyg i big y crychydd, oddiwrth ba un y cafodd ei enw: yr holl lysieuyn a arogla yn gryf. Defnyddir hwn yn gyffredin i ragflaenu y chwa *(blast)*, ond ni wn oddiar ba reswm; gellid cael llawer o lysiau ereill yn fwy addas. Prif rinwedd hwn yw attal pob hylifau, a gwella pob math o glwyfau hen a newydd yn mhob rhan o'r corph. Dywed rhai ei fod yn dda rhag y gareg.

## Drydon, Troed y Dryw, Llysiau'r Dryw, Llysiau'r Fyddau.—*Agrimony.*

MAE y llysieuyn hwn yn un o drigianyddion y maes, ac yn hoffi ochr cloddiau lle y byddo pridd iachus; corsen gron, dail asgellog, blewon, geirwon, yn llawn bylchau, a thoriadau i'r asen ganol; yn ddwy droedfedd o hyd o'r bôn i'r blaen, weithiau yn hwy, fel y byddo y tir; a thua blaen y gorsen y mae blodau melynion yn dyfod allan, un yn uwch na'r llall, ac ar eu hol mae math o hadau crynion geirwon yn dyfod. Mae y llysieuyn hwn yn ei rym yn misoedd Gorphenaf ac Awst. Nid oes gwell llysieuyn yn tyfu na hwn i adfywio natur; trwy ei effaith dwymawl a chryfhaol mae yn symud ymaith bob rhwystr o'r afu a'r coluddion, yn glanhau yr arenau, y cefndedyn, a'r bledren, ac yn iachau rhedfa y dwfr, pan y byddo gwaed yn dyfod allan yn y ffordd hono, ynghyd â phob archollion a chlwyfau mewnol; yn esmwythau yr rhefrwst, y cryd, a'r peswch; mae yn dda rhag brathiadau pryfaid gwenwynig, trwy gadw y gwenwyn o'r galon. Yn allanol mae yn dda rhag y cancr, ac ysigiadau mewn unrhyw fanau o'r corph, trwy ei roddi yn sugaethan ar y lle.

Mae y llysieuyn hwn yn rwymawl a chryfhaol, ac yn effeithiol iawn i symud rhwystrau yn yr ymysgaroedd, yn yr

afu, &c.; mae yn llesiol i iachau y dolur rhydd, a chryfhau y cyfansoddiad. Gellir gwneuthur tê, trwyth, neu bylor o hono. Mae pob rhan o'r llysieuyn hwn yn fuddiol, ond mae pen uchaf y gwraidd yn y Gwanwyn yn neillduol o dda. Gellir gwneuthur trwyth rhagorol o hono, trwy roddi dyrnaid o'r dail sychion mewn llestr, a thywallt chwart o ddwfr berwedig arnynt, a'u melusu ag ychydig o siwgr. Trwy yfed o'r ddiod hon symudwyd rhai clefydau cyndyn iawn. Dylid ei hyfed pan yn wag yn y boreu, ac eilwaith ddwy neu dair gwaith y dydd. Mae yn effeithiol iawn i lanhau y croen, ac i buro y gwaed, Mae yn wddf-olch *(gargle)* rhagorol. Mae twym-olch *(fomentation)* wedi ei wneuthur o'r un faint o'r llysieuyn hwn, o Lysiau St. Ioan, blodau Camamil, a Wormwood, yn effeithiol i laesu poen, cwlwm gwythi, *(cramp)* &c. Dylid casglu y llysieuyn hwn pan yn ei flodau, ei sychu yn y cysgod, a'i gadw mewn lle sych. Mae yn hollol ddiniwed; byddwch eon arno.

## Du-Ddraenen.—*Sloe Tree.*

Mae y pren hwn mor adnabyddus fel na raid ei ddesgrifio; pren Eirin bychan ydyw: mae ei ffrwyth yn hyfryd pan yn addfed. Mae sudd yr Eirin cyn yr addfedont, yn feddyginiaeth nodedig i wella llifogydd y bol; gellir ei ferwi nes y delo yn sylwedd caled, ac yna ceidw dros flwyddyn. Arferai cyffyrwyr *(druggists)* gynt gadw y sylwedd hwn wedi ei sychu, dan yr enw *German Acacia*, ond anaml y cadwant ef yn awr.

## Ddillwydd Felen, Llysiau'r Wennol, Llym y Llygad.—*Celandine.*

Un o breswylwyr y maes yw y llysieuyn hwn, i'w gael ar ochr hen gloddiau yn agos i dai; mae ei ddail o liw gwyrdd goleu, yn llawn bylchau a thoriadau, corsen eiddilaidd, a blodau melynion, a phan dorer y dail maent yn llawn o sudd melyn, tew, o flas chwerw. Prif rinwedd hwn yw difa y bilen oddiar y llygad, trwy ddiferu y sudd i'r llygad; byddai yn esmwythach pe cymysgid ychydig ddiferynau o'r sudd am ben yr un faint o laeth gwraig, a'i roi yn y llygad yn dwym.

Yr un modd mae y llysieuyn hwn yn dda i wella pob math o glwyfau llygredig ac archollion, ag a fyddo yn tyfu yn wyllt. Mae ei sudd yn gwella y darddwden *(ringworm)*, ac yn dda i'r cancr, ac yn difa y defaid wrth eu mynych iro ag ef. Gwell peidio ei gymeryd yn fewnol.

## Eiddew, Eiddiorwg.—*Ivy.*

Ni raid manylu wrth nodi allan y llysieuyn hwn ; gwelir ef yn addurno muriau llawer bwthyn gwael, ac yn dringo llawer pren uchel ; blodeua tua Gorphenaf, ond ni addfeda y grawn hyd tua Nadolig. Defnyddir y dail a'r grawn fel meddyginiaeth : dylid bod yn ochelgar wrth ei gymeryd yn fewnol ; ond yn allanol gellir bod yn eon arno. Mae trwyth y dail yn rhinweddol i ladd pryfaid yn ngwallt plant, ond golchi eu penau ag ef. Mae trwyth y grawn yn beth effeithiol i rwyddhau yr ymysgaroedd : gweithia hefyd yn fynych fel cyfoglyn *(vomit)*. Mae powdr y grawn, ond ei gymeryd mewn gwin, yn nerthol iawn i dori y gareg a chynhyrfu y dwfr. Ond berwi y dail mewn finegr, a'u rhoi wrth ochrau un pan yn gael ei flino gan boen yn y ddueg, neu yn yr ystlysau, parant esmwythad mawr : mae y trwyth yn rhinweddol hefyd i olchi hen glwyfau peryglus, ac i iachau llosgiad tân. Ond tynu sudd y dail neu y grawn i'r ffroenau effeithia yn rymus rhyfeddol i buro yr ymenydd oddiwrth yr hylif llygredig sydd yn aml yn rhedeg i lawr i'r llygad a'r ffroenau ; ond ei ddiferu i'r clustiau, gwna sychu hylif drwg a fyddo ynddynt.

## Eidral, Eiddw'r Ddaear, Bydiawg Las, Llysiau'r Gerwyn.—*Ground Ivy.*

Mae y llysieuyn hwn yn tyfu ar hen gloddian breision a chysgodol, yn gyffredin o gylch gerddi ; mae ei ddail yn grynion, blewog, a bylchau yn eu hymylau, y canghenau yn eiddil, yn ymlusgo ar hyd y ddaear, ac yn gwreiddio yn awr ac eilwaith fel y maent yn tyfu, a blodau coch-las yn dyfod allan gyda'r dail ; mae ei arogl yn gryf, a'i flas yn chwerw. Mae hwn yn un o'r llysiau goreu ag a gynyrcha ein gwlad ;

mae yn awchu y cylla at fwyd, trwy ddatod a chwalu pob llysnafedd tew, glydiog, ag sydd yn glynu wrtho, ac yn ei glirio allan, a thrwy hyny yn gwella pob rhyw gnofeydd a gwaew yn yr ymysgaroedd. Mae yn agor rhwystrau yn yr arenau, yr afu, y bustl, a'r ddueg. Mae rhai physygwyr enwog yn dweud y gwna mynych yfed ei isgell dreulio y gareg o'r arenau neu y bledren. Mae yn iachau y dolur mwyaf poenus mewn pen. Mae yn enwog i iachau pob math o glwyfau ac archollion mewnol, megys poeri gwaed, dwfr gwaelyd; yn dda yn y dyfrglwyf, y pruddglwyf, y clefyd melyn, a'r pla: mae yn dda i ostwng chwydd yn yr ysgyfaint i symud anhwylderau y ddwyfron, ac i ladd llyngyr. Yn allanol, efe a wellha hen glwyfau y manwynon, wrth ei roi yn sugaethan ar y lle. Dywedir y gwna diferu ei sudd i'r clust, yr ochr y bo poen mewn dant, wella y ddanodd. Yr oedd yr hen Gymry yn gwybod am ei rinweddau yn well na ni; yr oeddynt hwy yn ei ddefnyddio yn lle hopys yn y cwrw; a dyna yr achos eu galw yn Llysiau y Gerwyn. Y ffordd oreu yw ei ddefnyddio fel tê. Cofiwn pan oedd y bobl yn defnyddio mwy ar lysiau eu gwlad, yr oeddynt yn mwynhau gwell iechyd; a chyn y delo y bobl yn gryf ac yn iach fel eu tadau, rhaid iddynt ddod i *fyw* fel eu tadau.

## Eirin Mair.—*Gooseberries.*

Adwaenir y rhai hyn yn ddigon da gan blant ein wlad: lle y byddont i'w cael, tebyg y bydd y plant yn gwybod am danynt. Mae yr Eirin, cyn yr addfedont, ond ei glasferwi neu eu pobi, yn rhinweddol neillduol i gryfhau cylla gwan, i adferyd awch at fwyd, yn enwedig mewn personau a fyddo yn dyoddef oddiwrth hylif drwg yn y cylla: maent yn effeithiol neillduol i ddigoni gwragedd beichiogion pan wedi chwenychu rhywbeth. Gellir eu cadw mewn siwgr trwy yr holl flwyddyn. Gwna *tê* y dail oeri chwydd poeth, fflameg, a *St. Anthony's Fire*, dryllio a symud a gareg o'r arenau a'r bledren. Mae yr Eirin, pan yn addfed, yn nerthol hynod i ddofi gwres angerddol yn y cylla a'r afu. Dylai plant, yn enwedig, ochelyd bwyta llawer o honynt heb eu digoni, o herwydd y tueddant i fagu pryfaid ynddynt.

## Eithin.—*Furze or Gorse.*

Ni raid trafferthu i ddesgrifio y rhai hyn; cyfarfu llawer un â hwynt er ei ofid, yn nhywyllwch y nos, a gwelwyd ôl eu pigiadau ar ei wyneb a'i ddwylaw dranoeth, fel mai prin y credai ei gyfeillion nad oedd wedi bod mewn brwydr y nos o'r blaen. Maent yn blodeuo yn misoedd yr Haf. Mae yn y gwreiddyn, y blodau, a'r hadau, rinweddau meddygol: mae trwyth y naill neu y llall yn cynhyrfu y dwfr, ac felly yn effeithiol iawn i symud y graian, a gwella y clefyd melyn.

## Eithin yr Ieir, Dannedd y Gath, Hwp yr Ychain, Cas gan Arddwr, Tagaradr.—*Rest Harrow.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd y maes, ac yn hoffi daear sych, ddiffrwyth; corsen fain, dyner ar y cyntaf, ond wedi hyny yn caledu fel pren; a dail crynion bychain yma a thraw ar hyd-ddi, a blodau yn dyfod allan fel Eithin, ond o liw tywyll; a math o godau yn eu canlyn fel pys bychain, a hadau duon celyd ynddynt fel had Eithin. Pan heneiddio y llysieuyn, mae yn llawn o bigiau llymion iawn, fel ewinedd cath. Mae y llysieuyn hwn yn effeithiol dros ben i agor rhwystrau yn y rhanau mewnol, yr afu, y ddueg, y cefn, a'r bledren; ac felly yn glanhau y graian ymaith, ac yn treulio y gareg o'r chwysigen. Y rhan fwyaf rinweddol o'r llysieuyn hwn yw y gwreiddyn, a'r rhan fwyaf effeithiol o'r gwreiddyn yw y rhisgl. Gellwch grafu y rhisgl oddiarno, a'i ddefnyddio gyda llysiau ereill o'r un natur.

## Elestr, Gellhest.—*Flower-de-luce.*

Mae y llysieuyn hwn yn un o drigianyddion y maes, er ei fod yn cael ei blanu yn yr ardd yn fynych er mwyn ei flodau, ac yn ymhyfrydu mewn corsydd dyfrllyd; gwreiddyn praff, yn rhedeg dan wyneb y ddaear; dail meinion hirion iawn, yn dra thrwchus, a chorsen yn esgyn i fyny o'u canol, a blodau melynion ar ei blaen; tair dalen i bob un, yn cwympo i lawr, a math o goden dri onglog yn eu canlyn, yn llawn o hadau. Gwna y llysieuyn hwn ryfeddodau gydag ychydig o fedrusrwydd. Os byddwch am wneud prawf o hono ryw dro, rhoddwch gyda y gwraidd ddigon o had *Caraway* a mêl, fel y byddo yn cydunol â'r cylla. Dywedir

ei fod yn dda i'r dybenion canlynol :—Mae yn glanhau llysnafedd a geri afiach a gwydn o'r cylla ; yn gwella y clefyd melyn a'r dyfrglwyf ; poenau yn y coluddion a'r ochrau ; pangau y cryd, anhwylderau yr afu, y ddueg, a'r chwysigen, trwy lanhau y gareg, a pheri i'r dwfr redeg gyda yr hawsdra mwyaf. Myn rhai nad oes gwell llysieuyn nag ef yn tyfu i dreulio y gareg a chynhyrfu y dwfr. Mae yn dda hefyd rhag y dirdyniadau a'r cwlwm gwthi. Os berwir y gwraidd mewn finegr a dwfr, efe a wellha frathiadau nadredd, a phob math o greaduriaid gwenwynig. Mae yn clirio y llysnafedd o'r pibau gwynt, ac yn esmwythau y peswch.

Yn allanol, mae yn twymno y gewynau a'r cymalau, ac yn esmwythau poenau y glunwst a'r gymalwst ; yn tyneru, chwalu, a gostwng pob math o chwydd mewn unrhyw ran o'r corph, ac yn adnewyddu nerth y gewynau. Irwch yr olew ar y manau dolurus rhag poenau a gwendid. Gellwch ei gael gan y fferyllydd wrth yr enw *Oil of Iris*, neu *oleum irinum*. Ond y mae eto un peth hynod yn ol ; mae y gwraidd yn feddyginiaeth effeithiol rhag y ddanodd : os bydd y poen yn deilliaw oddiwrth anwyd. Yr oedd un meddyg cyfarwydd yn dweyd iddo ef ei brofi dros fil o weithiau, ac na fethodd gymaint ag unwaith, pan fyddai y poen yn effaith *rheums*. Cyhoeddwyd ef yn y papyrau newyddion droion fel meddyginiaeth anffaeledig rhag y ddannodd, dan yr enw *Gwraidd Iris*, ond nis gwyddai y werinos pa beth oedd, er ei fod i'w gael yn ymyl tai llawer o honynt ; ac felly ni chaent afael yn y feddyginiaeth i wneud prawf o honi. Y ffordd i'w ddefnyddio rhag y ddannodd yw naddu y gwraidd yn asglodion, a'u cnoi a'u poeri allan. Hefyd, fe wellha sugaethan o'r gwraidd bob math o glwyfau trwy eu glanhau, a thyfa cnawd iachus ynddynt, hyd yn nod pan y byddo yr esgyrn yn y golwg. Mae yn hynod o dda i lanhau y cornwyd gwyllt a'r cancr. Cofiwch ddefnyddio yr Elestr â'r blodau melynion, ac nid y rhai â blodau gleision, at yr holl ddoluriau uchod.

## Erfin, Maip.—*Turnips.*

Mae y gwreiddiau hyn yn dda nid yn unig yn fwyd, ond hefyd fel meddyginiaeth : ond eu tori yn dafellau, eu rhoi ar eu gilydd, a siwgr rhyngddynt, ceirsudd gwerthfawr i wella peswch.

## Eurinllys, y Cantwll, Llysiau St. Ioan.—*St. John's Wort.*

Mae y llysieuyn hwn yn un o breswylwyr gwyllt y maes, ac yn mwynhau ei fyd yn rhagorol ar ochrau hen gloddiau cysgodol, yn mhlith mwswgl ac eithin, yn mhob man lle bo daear ddiffrwyth. Corsen gron, galed, lyfn, yn rhychwant neu droedfedd o hyd. Dwy ddalen hirgrwn, o liw gwyrdd tywyll, heb ddim bylchau na thoriadau ynddynt, yn tyfu y naill ar gyfer y llall; ar flaen y gorsen mae blodeuyn melyn yn ymagor, a sudd coch fel gwaed ynddo. Peidiwch a defnyddio un llysieuyn ar antur: os byddwch yn teimlo rhyw amheuaeth yn nghylch rhyw lysieuyn ag a fyddoch yn feddwl ddefnyddio, ceisiwch gan ryw ddyn ag a fyddo yn ei adnabod, ei ddangos i chwi. Gwell i chwi deithio diwrnod na methu cael y llysieuyn hwn. Na feddyliwch mai yr un peth yw pob llysieuyn. Mae llawer o ddynion yn tybied, os bydd y llysiau yn debyg mewn lliw a llun i'w gilydd, eu bod o'r un rhinwedd; pan y maent yn eithaf annhebyg mewn effaith. Na feddyliwch chwaith bod pob llysiau yn gwbl ddiniwed; gellwch gael llysiau mor wenwynig ag *arsenic*, neu ryw wenwyn arall, a hyny yn ymyl eich tai. Mae o bwys i chwi fod yn *sicr* yn eich adnabyddiaeth o'r llysieuyn a fyddoch am ei ddefnyddio.

Mae y llysieuyn uchod yn gryf ac effeithiol iawn; yn cryfhau y galon, yn codi yr ysbrydoedd, ac yn adgyfnerthu natur; ac felly yn feddyginiaeth werthfawr rhag llewygon a gwendid natur. Mae yn dda hefyd rhag archollion a thoriadau mewnol; yn chwalu gwaed glydiog o'r cylla, ynghyd â geri afiach; yn dda rhag y cryd o bob math, y glunwst, yr haint ddigwydd, a'r parlys. Yn allanol, mae yn enwog mewn eli i ostwng chwydd, i esmwythau poenau, ac i iachau clwyfau o bob math; yn dda rhag brathiadau creaduriaid gwenwynig, a'r graian. Mae bysiaid yn ddigon o hwn ar unwaith, oblegyd mae yn llysieuyn cryf iawn. Os byddwch mewn petrusdod yn ei gylch, daliwch ddalen rhyngoch â fflam y ganwyll; ac os gwelwch ynddi lawer o fân dyllau, yr ydych yn iawn, a gellwch fod yn sicr mai y Cantwll ydyw.

## Ffa.—*Beans.*

Nid oes angen desgrifio y rhai hyn; adwaenir hwynt yn ddigon da yn ein gwlad ni. Mae eu blawd yn beth gwerthfawr iawn i'w ddefnyddio mewn pwltis at ddofi fflameg mewn archoll, i ostwng chwydd yn mronau gwragedd o herwydd fod y llaeth wedi ceulo; wedi ei gymysgu â mêl, mae yn effeithiol hynod i ddofi y *felon*, ac i iachau cornwydon a briwiau wedi eu hachosi gan ergydion. Ond dirisglio ffäen, ei rhanu a'i rhoi ar fan dolurus o herwydd cydiad geloden, ac yn gwaedu gormod, gwna attal y gwaed. Mae yn Ffâ y meusydd yr un rhinwedd â rhai y gerddi. Oblegid bod Ffâ yn wyntog iawn, dylid gofalu am ddefnyddio llawer o bybyr wrth eu bwyta.

## Ffa'r Gors, Ffa'r Ffosydd, Meillion y Gors.—*Bog-Beans, Marsh Trefoil.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd y maes, ac yn hoffi hen ffosydd gwlybion, surllyd; felly mae digonedd o honynt i'w cael mewn hen waenydd gwlybion, lle y byddo y dwfr yn aros yn llonydd. Mae eu gwraidd yn rhedeg ar hyd wyneb y ddaear, o dan y dwfr; cyrs bychain yn saethu i fyny yma a thraw oddiwrth y gwreiddyn, a thair dalen yn tyfu ar eu blaen, fel meillionen yn gymwys o ran eu dull, ac fel dail Ffâ o ran eu maintioli a'u teimlad: yn leision, yn dewion, ac yn feddal; nid oes yr un arogl ganddynt, ond mae eu blas yn chwerw i'r eithaf. Mae eu blodau yn tyfu ar gorsen gron, lom, heb ddim dail arni, o gylch rhychwant o hyd; yn dywysen lawn ar ei blaen, o liw gwyn, wedi eu britho â lliw tywyll, yn edrych yn hardd iawn. Maent yn blodeuo yn mis Mai, neu yn gynar dechreu Mehefin. Un o brif lysiau Cymru yw hwn: nid oes un llysieuyn, braidd, yn hawddach i'w gael nag ef, yn enwedig yn y rhanau mwyaf mynyddig a diffrwyth o'n gwlad; na nemawr o lysiau yn fwy rhinweddol nag ef. Mae yn ddyfrawl; ac felly yn hynod o iachus yn holl anhwylderau y graian a'r gareg, yn glanhau holl rodfeydd y dwfr, yr arenau, y cefndedyn, y chwysigen, a'r dwfr lestri; trwy hyn esmwytha yr holl boenau a achosir gan y cyfryw anhwyldeb, megys poen yn y cefn a'r lwynau. Mae hefyd

wedi iachau hen boenau arosol mewn aelodau, a hen gymalau wedi ystyffu, a dod a hwynt yn hyrwydd, ac ystwyth i wneuthur pob gwasanaeth angenrheidiol. Gwn am rai hen bobl ag oeddynt wedi gorfod ildio i orchwylion celyd bywyd, gan wynegon, poen ac ystyffni, a ddaethant i gyflawni gorchwylion caletaf bywyd, megys lladd gwair, aredig, a phethau cyffelyb, fel yn y dyddiau gynt.

Hefyd, maent yn feddyginiaeth ragorol rhag llŵg, pa un bynag ai yn fewnol neu yn allanol y bo. Mae physygwyr Ffrainc yn gwneuthur gorchestion ag ef rhag y poen dolurus hwn, ac yn ei ganmol i'r cymylau: dywedant ei fod yn mhell tu hwnt i Lysiau'r Llŵg yn ei rinweddau i buro y gwaed, a gweithio yr hylif helïaidd a achosa y clefyd truenus hwn ar ddyn. Nid wyf yn gweled dim yn anghyson â rheswm yn eu tystiolaeth, oblegid mae effeithiau anghydmarol gan y llysieuyn hwn ar y cylla. O herwydd ei deithi chwerw, dattoda, chwala, a chartha ymaith y llysnafedd tew, gwydn, sydd yn glynu ar barwydydd y cylla, sydd yn ei attal i chwalu yr ymborth, a'i addasu i fod yn ddefnydd gwaed iachus; gweithia bob anmhuredd allan o'r corph, yn ffordd y dwfr a'r chwys. Mae ynddo duedd i agor chwysdyllau y croen, ac i beri bod cylchrediad y gwaed yn fywiog ac yn nerthol, ac felly i yru prif egwyddor bywyd i ranau pellaf y corph, ac i gadw mygdarthiad y corph yn helaeth; ac ond cadw y traul ymborth yn dda, cylchrediad y gwaed yn rymus, ac anweddiad y corph yn helaeth, bydd y cyfansoddiad yn dra diogel rhag ymosodiadau clefydau ac anwyd. Pan byddo y cylchrediad yn marweiddio, a'r chwys-dyllau yn cau, yna y mae ymsuddiad yn cymeryd lle yn wastad, yr hyn sydd niweidiol bob amser, ac yn angeuol weithiau. Rhyw arferiad neu gyffair ag a gadwo anweddiad y corph i fyny, sydd yn wrthwynebydd cryf i bob anhwylder; ac y mae y llysieuyn hwn yn un o'r pethau goreu at hyny. Ond yfed ei drwyth yn helaeth, adfywia natur ag a fyddo wedi methu gan lafur a henaint, ac adnewydda nerth y dyn ag a fyddo wedi myned yn gripil gan wynegon a doluriau, fel yr eryr. Weithiau mae y llŵg neu y clefri poeth yn tori allan yn yr ysgyfaint neu yr afu, ac yn achosi poen dirfawr; pan yn tori allan yn yr ysgyfaint, bydd yr anadl yn wresog ac yn fyr, poen mawr yn

groes i'r ddwyfron, cyfyngder a rhyw beswch byr, heb allu taflu dim i fyny. Gwna tê y llysieuyn hwn les mawr yn y cyfryw amgylchiad; yr un modd gwna ddaioni mawr i'r afu pan y byddo gwres a phoethder ynddo gan y llŵg, trwy iachau y llŵg, ysgafnhau y cyfyngder, ac estyn yr anadl. Mewn gair mae yn cryfhau yr holl ranau mewnol, yn gostwng chwydd y ddueg, yn chwalu gwynt o'r cylla a'r coluddion, ac yn cynorthwyo yr holl ranau a berthyn i'r corph i gyflawnu eu hamrywiol swyddau gyda'r hawsdra mwyaf. Heblaw hyn, mae yn feddyg-olch rhagorol i'r gwddf a'r gorchfanau *(gums)*, ac yn iachau y llŵg yn y *gums* a'r genau; yn ffafriol iawn i'r dannedd pan y byddont wedi eu rhyddhau gan y llŵg; ail sicrha hwynt a gwna i'r *gums* dyfu o'u cylch. Nid oes eisiau i chwi feddyginiaethu y genau, y dannedd, a'r gwddf, ond golchi eich genau â'i drwyth yn oer, yn awr ac eilwaith yn y dydd, a'i daflu allan.

## Ffenigl, Ffunell.—*Fennel.*

Planhigyn yw hwn a godir yn gyffredin i'w ddefnyddio ar y bwrdd; mae, gyda llawer o briodoldeb, yn cael ei ferwi gyda physgod. Mae yn gweithio yn nerthol i symud ymaith y llysnafedd glydiog ag mae pysgod yn ei fagu yn y corph; ac mae yn addas iawn i'w ddefnyddio i'r perwyl hwnw, er nad oes ond ychydig o'r rhai a'i harferant yn gwybod paham y defnyddiant ef. Mae yn llysieuyn rhagorol i chwalu gwynt, i gynhyrfu y dwfr, i dori y gareg, ac felly i esmwytho y poen a achosa. Ond berwi ei ddail neu ei hadau mewn meddyglyn haidd, ceir diod llesiol iawn i famau at gynyddu eu llaeth wrth fagu, a'i wneuthur yn fwy iachus i'r plentyn: ond eu berwi mewn dwfr, ceir trwyth gwerthfawr i attal yr îg *(hiccup)*, a symud y gwrthwynebiad at fwyd a deimla llawer mewn twymynon poethion a nychlyd, a dofi y gwres.

O'r hadau wedi eu berwi mewn gwin, ceir trwyth gwerthfawr i rai wedi eu brathu gan nadredd, neu wedi bwyta llysiau gwenwynllyd, neu fwyd y burcud *(mushroom)* nes peri poen. Mae y gwreiddiau yn fwy effeithiol eto i symud yr holl rwystrau fyddo yn yr afu, y ddueg, a'r bustl, ac felly i wasgaru gwynt, a iachau y clefyd melyn, y gymalwst, a'r cwlwm gwythi. Mae tê yr hadau yn llesiol iawn i rwyddhau

yr anadl, ac attal gwichian yn y gwddf. Gellwch roddi llonaid llwy o honynt mewn *teapot*, ac arnynt chwart o ddwfr berwedig, ac yfed cwpanaid o hono dair gwaith y dydd; neu gellwch roddi dyrnaid o Bersli gyda hwynt yn y *teapot*, a gwnant i chwi ryfeddodau. Mae isgell y gwreiddiau yn effeithiol iawn i buro y gwaed, agor llwybrau yr afu, a chynhyrfu y dwfr: mae cawl y dail, yr hadau, a'r gwreiddiau, yn feddyginiaeth nerthol i symud ymaith frasder afiach o'r corph, ac felly yn addas i rai fyddo yn rhy dew.

Mae math arall o Ffenigl yn gyffredin mewn gerddi, cryn gyffelyb i hwn, ond ei fod yn fwy glaswyn: mae tua phedair troedfedd o uchder. Mae cyrs y dail hwn yn debyg i rai y llall, ond bod rhai hwn yn felynwyrdd, ac ddim mor dywyll â rhai y llall; mae y blodau yn felynaidd: mae yr hadau yn wahanol i eiddo y llall yn eu maint, eu ffurf, a'u blas. Mae y rhai hyn yn oleuach, a chami ynddynt, a'u blas i raddau yn felus.

Hadau y rhai hyn ddefnyddir; mae eu tê yn feddyginiaeth ragorol i wella y coluddwst, ac maent yn rhinweddol iawn i'w rhoi mewn pwltis, i ostwng chwydd: defnyddia rhai hadau y fath flaenorol; ond maent yn rhy boeth a sur. Mae hadau hwn yn llawer gwell, yn enwedig yn fewnol.

## Ffenigl y Moch, Pyglys.—*Maiden-weed, Hog's Fennel or Sulphur-wort.*

Planhigyn gwyllt, ac iddo ddail rhanedig, a thuswau o flodau melynion, ac felly rywbeth yn debyg i'r rhai blaenorol. Tyfa tua dwy droedfedd o uchder; mae y gorsen yn gron, rhychiog, a changhenog, yn sefyll yn syth. Mae y dail yn debyg i ddail y Ffenigl, ond bod y rhaniadau yn lletach; safant bob yn dair gyda'u gilydd. Rhai bychain yw y blodau, ond mae y tusw yn fawr; yr hadau yn hirgul a theneuon: ar ben uchaf y gwreiddyn ceir tuswau mân, y rhai a ymddangosant fel mân-edafedd. Mae y gwreiddyn yn fawr a hir, o liw llwyd. Mae ei drwyth, a'i yfed nos a boreu, yn effeithiol iawn i chwalu llysnafedd glydiog, rhwyddhau yr anadl, a chynhyrfu y dwfr.

Mae sudd y llysieuyn wedi ei gymysgu â gwin neu ŵy, yn beth rhagorol i wella peswch, rhwyddhau yr anadl, a gwasgaru

gwynt o'r ymysgaroedd. Mae y sudd, wedi ei gymysgu â gwin, a'i ddiferu i'r clustiau, yn effeithiol hynod i esmwytho poen ynddynt. Mae powdr y gwraidd yn beth rhagorol i lanhau a gwella hen glwyfau pwdr, sychu clwyfau gwlybion, a thynu darnau o esgyrn o'r cnawd.

## Garddwy.—*Caraway.*

CODIR y planhigyn hwn gyda ni yn gyffredin mewn gerddi, gan hyny ni raid ei ddesgrifio: mae yn blodeno yn Mehefin neu Gorphenaf. Mae yr hadau, ond eu cnoi, yn feddyginiaeth nodedig i ddofi y coluddwst, ac i iachau holl glefydau y cylla. Maent yn effeithiol iawn i dori y gareg, a chynhyrfu y dwfr: gwna y llysieuyn ei hun hyn hefyd. Mae y gwreiddiau yn well ymborth na moron gwynion *(parsnips)*; mae eu blas yn hyfryd, a chynorthwyant y cylla i dreulio y bwyd. Buddiol iawn fyddai i bobl, yn enwedig rhai oedranus, fwyta ychydig o honynt yn fynych; maent yn cryfhau y cylla, ac yn adfywio y cyfansoddiad. Dylid planu a chadw y llysieuyn gwerthfawr hwn yn mhob gardd, a'i ddefnyddio yn fynych.

Ond malurio yr hadau, a'u rhoi mewn pwltis, symudant olion ergydion, ac ysigdod o'r cnawd. Mae y llysieuyn ei hun, neu yr hadau wedi eu hysigo a'u crasboethi, a'u rhoi mewn llieiniau wrth waelod y bol, yn nerthol nodedig i ddofi y coluddwst, a gwasgaru gwynt. Dyrnaid o Ddanadl ieuanc yn y Gwanwyn, a haner dyrnaid o wraidd Tafol blaenfeinion, ac wns o had *Caraway*, a thywallt arnynt chwart o ddwfr berwedig, a wnai ddiod ragorol i'w hyfed yn y Gwanwyn; gwn am laweroedd a gawsant lesad rhyfeddol trwyddi.

## Glafrllys, y Grammennog, y Benlas Wen.—*Scabious, Blue Bottle.*

GWYR tyddynwyr gan mwyaf am y llysieuyn hwn, gan ei fod yn tyfu yn gyffredin mewn caeau llafur. Mae iddo gyrs crynion, tua thair troedfedd o hyd, a blodau crynion gleision. Cyfyd y dail yn benaf oddiar y gwraidd, yn wasgaredig ar hyd y llawr; maent yn aml, tyner, blewog, o liw glas goleu,

a llawer o honynt a'u hymylau yn fylchog. Mae y cyrs yn flewog, crynion, sythion, ac o'r un lliw gwelw, ac ychydig o ddail teg arnynt, dwy yn mhob cymal: mae y rhai hyn wedi eu bylchu yn ddyfnach na'r lleill. Saif y blodau yn sypynau mawrion, glas gwan, ar flaenau y canghenau; mewn math o benau: mae y gwreiddyn yn fawr, a thrwchus, yn myned yn ddwfn, ac yn parhau amrywiol o flynyddau. Y rhai sydd yn tyfu mewn meusydd ŷd yw y rhai mwyaf. Mae yn blodeuo yn Mehefin a Gorphenaf, ac weithiau yn Awst, a'i hadau yn addfed tua'r un amser. Y dail sydd yn codi oddiar y gwreiddiau cyn i'r cyrs ymddangos ddylid gasglu at wasanaeth.

Mae trwyth y Glafrllys yn effeithiol iawn i wella pob math o beswch, byrdra anadl, a phob afiechyd arall yn y ddwyfron a'r ysgyfaint; yn addfedu ac yn rhyddhau hen lysnafedd gwydn, fel y galler ei fwrw ymaith. Addfeda hefyd bob math o glwyfau a chornwydon mewnol. Mae yn dda rhagorol rhag chwydd a llysnafedd yn y pibau gwynt, cyfyngder yn y ddwyfron, diffyg anadl, a pheswch. Byddai yn dda iawn i hen bobl ei gymeryd yn fynych. Mae trwyth o hono wedi ei wneuthar â gwin, ond ei yfed dros beth amser, yn fuddiol i wella'r eisglwyf *(pleurisy)*. Mae yfed ychydig o'r sudd neu y trwyth, yn llesiol i iachau crach, y crafu, &c. Mae trwyth y llysieuyn hwn neu ei wraidd, yn effeithiol rhyfeddol i dynu i lawr chwydd mewn unrhyw ran o'r corph, ac ystwytho gewynion neu wythi a fo wedi crychu. Gwna plastyr o hono, mewn amser byr, ryddhau a thynu allan asglodyn neu ddernyn o asgwrn briwedig, neu rywbeth cyffelyb a fyddo yn y cnawd.

## Glaiarllys, y Glas, y Glaslys.—*Woad.*

Codir y planhigyn hwn mewn meusydd mewn amrywiol barthau o'r wlad, yn benaf at wasanaeth lliw-wyr: ni pherthyna yn naturiol i'r wlad hon. Mae ei gorsen tua phedair troedfedd o hyd, yn gron, yn fraisg, cref, a sych; ond gorchuddir hi yn gyffredin gymaint â dail, fel mai prin y gwelir un ran o honi yn noeth: mae y dail yn hirion a llydain, yn enwedig yn ymyl y gorsen, ac yna yn culhau tua'r blaen; mae o liw gwyrdd-las; ac ymddengys y llysieuyn yn

dlws iawn. Blodau melynion bychain sydd iddo; saif lluaws o honynt ar flaenau y cyrs, y rhai a ymranant yn y blaen i amrywiol o ganghenau mân; hadau bychain sydd iddo.

Mae hwn yn tueddu mor nerthol i sychu a rhwymo, fel nad yw yn gymwys i'w gymeryd yn fewnol; ond mae blaenau y cyrs, cyn yr ymddangoso y blodau, yn rhinweddol iawn fel meddyginiaeth allanol. Mae enaint wedi ei wneuthur o honynt, yn werthfawr iawn i attal y gwaed i redeg o archoll: i sychu a iachau clwyfau gwlybion, a'u hatal i lidio. Mae yn ocri fflamegau, yn dofi Tân Iddwn, ac yn effeithiol iawn i attal llifiad y gwaed mewn unrhyw ran o'r corph. Mae plastyr o'r llysieuyn hwn yn werthfawr iawn i'w roi wrth yr ochr chwith, i dyneru caledwch yn y ddueg, a dofi poen ynddi.

## Glinogai.—*Cow Wheat.*

Planhigyn gwyllt cyffredin mewn coedydd, ac yn mysg llwyni, ac iddo ddail culion, duon, a blodau melynion; mae tuag wyth neu ddeg modfedd o uchder. Mae y gorsen yn betryal a gwan, yn frau, ac anaml y mae yn syth; mae y dail yn feinion a chulion; weithiau o liw gwyrdd tywyll, ond yn fwy cyffredin yn las-goch; maent yn llydain yn y bôn, ac yn meinhau tua'r blaen; ac mae weithiau, ond ddim yn wastad, fylchau yn yr ymylau. Croga y blodau oll ar yr un ochr i'r gorsen, yn fath o dywysen agored; rhai bychain melynion ydynt, yn tyfu yn nghyd. Mae yr hadau a'u canlynant yn fawrion, rywbeth yn gyffelyb i wenith.

Yr hadau sydd yn cael eu defnyddio: maent i gael eu sychu a'u cymeryd yn bowdr, yn ddognau bychain. Perthyna iddynt rinweddau na feddylia ond ychydig am danynt; maent o natur gysurol ac adfywiol; ond os cymerir dognau rhy fawr, achosir poen ac ysgafnder yn y pen. Dywed Dr. J. Hill yr adwaenai wraig, yr hon a ferwodd gryn lawer o flaenau canghenau y planhigyn hwn mewn dwfr, ac a yfodd gryn lawer o'r trwyth mewn trefn i wella y clefyd melyn, ac iddi fyned fel pe buasai wedi meddwi a cholli ei synwyrau; achwynai ar farweidd-dra yn ei haelodau, a thybid ei bod mewn perygl am ei bywyd; ond ymadnewyddodd yn mhen ychydig o oriau, heb gymorth meddygol.

## Godog.—*Camphire.*

PLANHIGYN yw hwn a welir yn aml ar lan y môr; mae rywbeth yn debyg i Ffenigl, ond ddim mor uchel: geilw rhai ef Ffenigl y môr; mae tua throedfedd a hanner neu ddwy droedfedd o hyd. Corsen werdd dyner sydd iddo, a changhenau arni agos o'r gwaelod i fyny, a dail o liw gwyrdd tywyll, agos yn grynion, ddwy gyda'u gilydd yn aml; mae y dail yn llawn iawn o sudd gwresog fel pêr-lysieuyn, a'r blas yn gryn hyfryd. Ar flaen y cyrs saif tuswau o flodau gwynion, ac ar eu hol daw hadau mawrion, mwy na hadau Ffenigl, ond yn debyg iddynt. Gwreiddyn gwyn mawr hir sydd iddo, yr hwn a bery lawer o flynyddau: mae hwn hefyd o natur boeth, a'i flas yn hyfryd. Mae yn tyfu ar greigiau ag y byddo dwfr hallt yn eu lleithâu o leiaf, os nid yn llifo drostynt yn fynych Mae arogl hyfryd i'r holl blanhigyn, mae yn blodeuo ac yn hadu tua diwedd Gorphenaf ac Awst.

Bu y llysieuyn hwn mewn bri mawr fel meddyginiaeth; defnyddid ef yn aml, a thrueni mawr yw na wneid felly eto. Gellir defnyddio y llysieuyn hwn gyda diogelwch a hyfrydwch; cynorthwya i dreulio y bwyd, i symud rhwystrau yn yr afu a'r ddueg, a chynhyrfa y dwfr, ac felly gweithia i symud y graian a'r gareg a allo fod wedi crynhoi yn y bledren.

Gwell defnyddio y dail yn îr; y rhai sydd yn tyfu oddiar y gwraidd yw y goreu: gellir eu cyffeithio *(pickle)*, a'u defnyddio gyda bwyd.

## Godowydd.—*Water Lily.*

MAE amrywiol o fathau o'r llysieuyn hwn; sylwn yn unig ar ddau fath—y gwyn a'r melyn. Mae i'r un gwyn ddail hirion mawrion, o liw gwyrdd tywyll, yn nofio ar wyneb y dwfr, yn cael eu cynal gan gyrs hirion a breision, yn codi oddiar wreiddyn du, mawr, hir, a chymalog, lled dyner, a llawer o gygnau fel llygaid arno; yn wyn o fewn. A y gwreiddyn yn ddwfn i'r llaid. Hefyd, cyfyd amrywiol o gyrs cryn fawrion, yn mysg y cygnau sydd ar y gwreiddyn, ar y rhai y mae blodeuyn mawr, gwyrdd y tu allan, ond mor

wyn â'r eira o fewn. Cynwysa y blodeuyn amrywiol resi o ddail hirion culion, yn myned yn llai a theneuach pa nesaf i mewn y byddont. Yn eu canol mae pen a wneir i fynu o lawer o edau melynion. Wedi i'r rhai hyn ddarfod, daw hadau llydain, o natur olewaidd, o flas chwerw.

Nid yw yr un melyn yn gwahaniaethu fawr oddiwrth yr un uchod, ond bod llai o ddail yn ei flodau, yr hadau yn fwy a dysgleiriach, a'r gwreiddyn yn wyn o fewn ac oddiallan: mae blas gwreiddyn y naill a'r llall yn gyffelyb.

Ceir hwynt yn tyfu mewn pyllau mawrion o ddwfr llonydd, ac weithiau mewn afonydd y rhai y byddo eu dwfr yn rhedeg yn araf, ac mewn cloddiau gwlybion. Blodeuant yn gyffredin ddiwedd Mai, a hadant yn Awst.

Mae eu dail a'u blodau o natur oer a gwlyb; ond mae y gwreiddiau a'r hadau yn oer a sych. Mae y dail a'r blodau yn oeri pob fflameg, a gwres mewnol ac allanol y cryd, trwy ddefnyddio pereiddfwyd wedi ei wneuthur trwy ferwi eu sudd gyda siwgr. Mae y *syrup* hwn hefyd yn llesiol iawn i lonyddu ymenydd dynion gorphwyllog, a rhoddi gorphwysdra iddynt, trwy ddofi gwres a fyddo yn y pen. Mae yr hadau, yn gystal â'r gwreiddyn, yn dda i attal llifiad gormodol llynoedd y corph, naill ai mewn clwyfau neu trwy yr ymysgaroedd; ond y gwreiddiau sydd fwyaf effeithiol i oeri, rhwymo, ac attal y llifiadau a nodwyd. Dylid bod yn ofalus wrth ei ddefnyddio; peidio cymeryd dognau mawrion o hono, na'u cymeryd yn fynych. Byddai y gwraidd yn llesiol i rai y byddo eu dwfr yn boeth, ond eu berwi neu eu mwydo, ac yfed y trwyth. Mae dwfr distylledig o'r blodau yn effeithiol iawn i wella yr holl glefydau a nodwyd, ond ei ddefnyddio yn fewnol neu yn allanol.

Mae y ddau fath a nodwyd o'r llysieuyn hwn yn gyffelyb yn eu rhinweddau, ond nad yw gwreiddiau yr un â'r blodau melynion mor nerthol â rhai y llall.—Gwelir ychwaneg dan *Bwltws* ac *Elestr*.

## Goedrwydd, Goedwyrdd.—*Winter-Green or Wild-Beets, Melilot.*

Planhigyn cyffredin, a thair dalen yn mhob cymal, ac iddo dywysenau hirion agored o flodau melynion. Mae tua

throedfedd a hanner neu chwaneg o uchder. Corsen wan, fain, werdd, a rhychiog sydd iddo: mae ei ddail yn hir-gul, a'r blaenau yn llydain; eu hymylau yn fylchog, ac o liw gwyrdd. Mae y blodau yn fychain, yn eu dull yn debyg i flodau cfrau; ac mae codau crynion a geirwon o liw gwyrdd yn eu canlyn. Mae arogl cryf neillduol, ond ddim yn anhyfryd, i'r holl lysieuyn; ac mae y dail yn ymborth i gynifer o drychfilod *(insects)*, fel y maent yn gyffredin i'w gweled wedi eu cnoi yn ddrylliau.

Mae y planhigyn pan yn îr yn un gwerthfawr rhyfeddol i'w roi mewn pwltis i ostwng chwydd yn ngwahanol ranau y corph.

## Gold, Gold Mair, Rhuddos.—*Marigold.*

Ni raid manylu llawer wrth ddesgrifio hwn, o herwydd mae i'w weled yn lled gyffredin yn ein gerddi. Mae y cyrs yn freisgion, a'r dail yn lled hirion; a blodau mawrion melynion iddo, yn sefyll ar flaenau y cangau: mae y planhigyn oll o liw gwyrdd goleu, ac wrth ei deimlo ceir ei fod yn glydiog.

Mae tê y blodau îr yn rhinweddol iawn i iachau twymynon; mae mewn modd araf yn agor y chwysdyllau, ac yn bwrw allan aficchyd gyda'r chwys.

## Gras Duw.—*Hedge-Hysop.*

Planhigyn bychan yw hwn a godir yn ein gerddi; mae tua throedfedd o hyd; y cyrs yn betryal, ac yn gryn weinion; y dail yn hirion a chulion, a'u blaenau yn feinion; safant bob yn ddwy ar bob cymal. Mae blodau melynion lled fawrion arno, rhywbeth yn debyg i flodau Bysedd y Cwn.

Mae tê y llysieuyn hwn yn îr yn garthiedydd rhagorol iawn: dylid gofalu peidio cymeryd dogn mawr am ei fod yn gweithio yn nerthol. Mae yn llesiol rhyfeddol i rai yn dyoddef oddiwrth y dyfrglwyf a'r gewynwst; bu yn foddion lawer gwaith i wella y clefyd melyn.

## Greulys fenyw, Llychlyn y Dwr, Yr Hen Wr, Llysiau Taliesin.—*Brooklime.*

Mae y llysieuyn hwn bob amser yn tyfu mewn dwfr, yn

enwedig mewn ffynonau, yn gymysgedig â Berw'r Dwr, ac yn gyffredin yn ffosydd cloddiau, yn ymyl ffyrdd, lle y byddo dwfr rhedegog, a daear weddol dda: corsen gron, a'r dail yn tyfu bob yn ddwy, y naill ar gyfer y llall, yn mron yn grynion, yn arw, ac yn ddysglaer, a blodau gleision bychain yn dyfod allan gyda'r dail. Mae y llysieuyn hwn yn hynod o iachus i gorph dyn, yn un o'r llysiau enwocaf i iachau y llwg, yn oeri y gwaed, ac yn gweithio allan o hono yr hylif heliaidd sydd yn achosi y clefri; yn glanhau y gareg a'r graian, yn iachau y dwfr lestri; ac yn cynhyrfu y dwfr i redeg; mae yn awchu y cylla at fwyd, ac yn cryfhau yr ymysgaroedd. Pe gwnai dynion ei fwyta fel Berw'r Dwr yn y Gwanwyn, byddai yn iechyd rhyfeddol iddynt. Yn allanol, mae yn dda iawn i'w roddi yn sugaethan wrth gymalau ag a fyddo wedi ysigo, ac i fwydo unrhyw chwydd ag a fyddo mewn unrhyw ran o'r corph. Yr un modd gwna ddaioni i oeri a gostwng chwydd mewn anifeiliaid.

## Gwaew y Brenin.—*Yellow Asphodil or Daffodil.*

Planhigyn a welir mewn llawer o erddi, ac iddo ddail culion, a blodau melynion mawrion. Yn ei gyflwr gwyllt, mae tua throedfedd o hyd; y dail yn hirion, glaswelltog, ac o liw gwyrdd tywyll, agos cyhyd â'r gorsen. Blodeuyn mawr sengl sydd iddo; saif ar flaen y gorsen, ac â'i bwys pair i ben y gorsen grymu: mae y gwreiddyn yn grwn a gwyn.

Y gwreiddyn ir sydd i'w ddefnyddio; a hawdd fyddai ei gadw yn yr ardd yn wastad yn barod, a dylid gwneuthur felly, gan ei fod mor rhinweddol. Ei sudd sydd oreu i'w ddefnyddio: ond llyncu ychydig o hono pair chwydiad, ac yna cartha ychydig; mae yn effeithiol rhyfeddol i symud yr holl rwystrau mewnol. Rhodder ychydig o win gwyn neu rywbeth cyffelyb gyda y sudd.

Mae gan bobl mewn gwledydd dwyreiniol ffordd hynod i sychu gwreiddiau planhigion a fyddo yn llawn sudd llyslyd, fel y mae hwn: rhoddant hwynt i fwydo mewn dwfr, ac yna rhoddant hwynt i sychu yn ager crochan y byddo *rice* yn berwi ynddo; wedi hyny rhwymant hwynt i fyny mewn lle sych, a deuant i raddau yn dryloyw ac esgyrnaidd. Nid anfuddiol fyddai gwneuthur felly â'r gwreiddyn hwn, ac â

rhai ereill a geir yn ein gwlad, y rhai, o herwydd y sudd llyslyd hwn, ni ellir yn hawdd eu sychu yn un ffordd arall. Tebygol na pharai hwn chwydiad wedi hyny, ac na wnelai ond rhwyddhau yr ymysgaroedd. Gellir cymeryd dognau o hono yn olynol; fel y mae yn naturiol, nid hawdd perswadio neb i'w gymeryd yn fynych, o herwydd ei flas annymunol.

Mae y gwreiddyn îr wedi ei ddryllio a'i roi wrth archollion newyddion, yn eu hiachau yn fuan; mae hefyd yn beth rhagorol iawn i symud briwiau a phoen, ac i ostwng chwydd.

## Gellhesg Per.—*Sweet-Flag, Sedge.*

MATH o hesg yw hwn a dyfa yn ymyl cloddiau. Mae tua thair troedfedd o hyd, heb un gorsen, ond dail yn unig. Mae tê y gwreiddiau yn beth rhagorol i gynhyrfu y dwfr, a chynorthwyo y cylla i dreulio y bwyd.

## Gwallt y Forwyn.—*Maiden-Hair.*

MAE tri neu bedwar o fathau o'r planhigyn hwn, ond maent oll yn debyg i'w gilydd yn eu rhinweddau, perthynant oll i deulu y rhedyn. I'r blaenaf o honynt mae cyrs bychain, duon, dysglaer, pob un yn ymranu yn y blaen i amrywiol o gangau; maent yn fyrion, fylchog, ac o liw gwyrdd goleu. Saif yr hadau ar du isaf y dail. Mae yr holl blanhigyn i'w ddefnyddio. Ond ei ferwi pan yn îr, ceir tê effeithiol iawn i gynhyrfu y dwfr, symud rhwystrau, yn enwedig o'r ysgyfaint. Mae y planhigyn hwn a Thafod yr Hydd, yn gyffelyb yn eu rhinweddau.

## Gwenith y Gog.—*Figwort.*

PLANHIGYN gwyllt uchel yw hwn, ac arno flodau o liw coch-las. Tyfa i bedair troedfedd o uchder, a cheir ef yn gyffredin mewn coedydd a chloddiau lle byddo ychydig o ddwfr. Mae math arall o hono mewn lleoedd gwlybion, a elwir Beatws y dwfr, yr hwn y gellir ei wahaniaethu oddiwrth hwn wrth y bylchau crynion sydd yn ei ddail; mae hwn i'w gael mewn dwfr neu yn ei ymyl; nid yw Gwenith y Gôg priodol yn hoffi dwfr, ond yn unig lleithder a chysgod.

Mae y gorsen yn betryal, syth, cau, a chref; saif y dail

ddwy yn mhob cymal, y naill gyferbyn â'r llall; maent yn fawrion a llydain yn y bôn, culion yn y blaen, a'u hymylau yn fylchog: safant ar gyrs hirion, ac maent yn eu ffurf yn debyg i ddail Danadl, ond eu bod yn hollol lyfn, ac yn ddysglaer: maent weithiau o liw gwyrdd, ond fynychaf yn llwyd. Mae y gwreiddyn yn hir, yn wyn, yn llawn o gygnau bychain, ac yn ymledu yn mhell dan wyneb y ddaear.

Mae sudd y gwreiddyn ir yn beth rhagorol i buro y gwaed, ond ei gymeryd yn ddognau bychain dros gryn amser yn olynol; gwna y gwreiddiau wedi eu hysigo, blastyr gwerthfawr i'w roi wrth gornwydon llygredig, ac i oeri ac esmwytho clwyf y marchogion.

## Gwialen Aur.—*Golden Rod.*

Mae hwn yn blanhigyn gwyllt tlws iawn; i'w weled mewn lleoedd agored mewn coedydd, mewn tir llaith neu sych. Mae y gorsen yn gref, syth, cron a blewog; y dail yn llydain, o liw gwyrdd, geirwon ar yr wyneb, a'u hymylau yn fylchog; mae iddo flodau melynion bychain, yn sefyll yn duswau lled fawrion. Mae y llysieuyn hwn yn ddyfrawl ac eliawl; yn rhinweddol i lanhau pibellau y dwfr, yn feddyginiaeth anmhrisadwy rhag y graian a'r gareg, poen yn y cefn a'r lwynau. Gellir gwneuthur powdr o'r gwraidd: mae tê yr holl blanhigyn yn glodfawr am ei rinweddau i iachau clwyfau mewnol neu allanol, i atal rhediad y gwaed o archollion. Nid oes ei ragorach at hyn: mae yn effeithiol iawn i wella clwyfau yn y genau, sicrhau y dannedd, &c., ond ei droi yn y genau.

## Gwillon Merllys.—*Asparagus, Sperage.*

Mae gwreiddyn y llysieuyn hwn yn rhinweddol neillduol fel meddyginiaeth, a bwyteir rhan arall o hono. Mae yn gyffelyb yn ei natur i'r Marchysgal dof *(Artichoke)*, ond yn gryfach. Gan ei fod mor adnabyddus, ni raid ei ddesgrifio yn fanol. Codir y planhigyn hwn mewn gwelyau; gofyna dir sych, wedi ei deilo yn dda. Mae i'w blanu mewn rhychiau dyfnion yn nghylch tair troedfedd o ddyfnder. Yn y gauaf mae y gwelyau i gael eu cuddio â thail neu rywbeth cyffelyb i'w cadw rhag y rhew. Yn y gwanwyn mae y tail i gael ei

symud, a'r gwelyau i gael eu hagor ychydig â fforch er cynhyrfu tyfiant y planhigion. Mae trwyth y gwreiddyn yn effeithiol i rwyddhau rhediad y dwfr, a symud rhwystrau yn yr ymysgaroedd. Mae wedi bod, wrtho ei hun, yn effeithiol i wella y clefyd melyn a'r dyfrglwyf.

## Gwlydd.—*Chick-Weed.*

Un o'r chwyn mwyaf cyffredin, ond ddim heb ei rinweddau, yw hwn; blina berchenogion gerddi i'r fath raddau fel y mae yn lled adnabyddus. Mae dau neu dri math o hono ag sydd yn rhinweddol fel meddyginiaeth: yr un mwyaf cyffredin yw y goreu. Ceir hwn yn aml yn ngwelyau gerddi; mae yn isel a changhenog. Mae y cyrs yn grynion, a gorweddant yn gyffredin ar y llawr; ei ddail yn wyrdd, a'u hymylau yn gyfain, yn tyfu yn ddwy yn mhob cymal: blodau gwynion bychain sydd iddo. Ceir ef hefyd mewn tiroedd llaith ac yn ymylau coedydd. Blodeua yn Mehefin, ac addfeda yr had yn Gorphenaf.

Ond tori y llysieuyn hwn a'i ferwi mewn bloneg mochyn, nes y crebycho, ceir enaint gwyrdd gwerthfawr i oeri a gwella cornwydon, gostwng chwydd, a symud pendduod a chrach oddiar gnawd. Mae ei sudd, ond ei yfed, yn dda i wella y llŵg, a chlwyfau ar wahanol ranau y corph. Mae y dail yn rhinweddol, i'w rhoi gyda llysiau priodol ereill, yn bwltis i ostwng cornwydon a chwydd, ac esmwytho gewynion a fyddo wedi crebychu: mae ei drwyth hefyd yn fuddiol at hyn.

## Gwlydd Mair, Llysiau y Cryman.—*Pimpernel.*

Planhigyn bychan a welir yn aml mewu meusydd ŷd, yn ymyl ffyrdd, ac mewn gerddi, yn tyfu o hono ei hun. Mae y cyrs yn betryal, llyfn, o liw gwyrdd, ond ddim yn gryfion; maent tua phump neu chwech modfedd o hyd. Saif y dail bob yn ddwy ar bob cymal; maent yn gryn lydain yn y canol, a'u blaenau yn feinion. Saif y blodau bob yn un ar gyrs sengl; maent yn fychain, ond o liw coch prydferth. Ar ol y blodau daw penau llyfnion yn cynwys yr hadau: gwreiddyn bychan sydd iddo, yn darfod bob blwyddyn. Mae yn blodeuo o Mai hyd Awst, ac addfeda yn fuan wedi hyny: mae yn ei nerth a'i rinwedd yn Mehefin.



Cal Mint



Century



Wart Cress



Cranesbill



Corn Marygold



Cow Wheat



Long Cyperus



Crowfoot



Coltsfoot



Cuckow Flower

Gellir defnyddio yr holl blanhigyn, ei fwydo mewn dwfr poeth, pan fyddo wedi ei gasglu; gwna ddiod werthfawr mewn twymynon; mae yn agor y chwys-dyllau, ac yn gweithio allan y frech wen, y frech goch, neu unrhyw doriadau ereill: gellir gwneuthur tê o'r dail sychion, neu dê o'r holl lysieuyn pan wedi sychu; ond mae tê o hono pan yn îr yn llawer gwell; mae felly yn feddyginiaeth nodedig.

Mae math arall o'r llysieuyn hwn, tebyg hollol i hwn, ond fod ei flodau yn leision; gelwir hwn yr un fenyw, ond yr un â'r blodau cochion yw yr un mwyaf rhinweddol. Mae sudd yr un â'r blodau cochion yn nerthol iawn i symud rhwystrau yn yr afu, i gynhyrfu y dwfr a threulio y gareg. Mae ei drwyth yn rhinweddol i lanhau clwyfau drewllyd, gwlybion, a digofus, y rhai a wellha yn llwyr mewn amser byr: mae yn lysieuyn gwerthfawr iawn.

## Gwraiddiriog.—*Burnet Saxifrage.*

LLYSIEUYN prydferth a dyfa yn ein meusydd, nodedig am furf afreolaidd ei ddail, a'i flodau gwynion. Mae yn nghylch deg modfedd o uchder; y gorsen yn gron a chref, ...yth a blewog. Y dail yn dyner, ac o liw glaswyrdd, yn lled grynion, a'u hymylau yn fylchog. Mae iddo flodau gwynion mawrion; tyfant yn lluosog ar flaenau y cyrs. Ymddengys gwreiddyn fel wedi ei wneuthur i fyny o ronynau gwynion neu gochion: y gwreiddyn yn unig ddefnyddir. Mae ei dê yn effeithiol iawn i rwyddhau rhediad y dwfr, ac i wella y graianwst. Trwy eu berwi ceir trwyth gwerthfawr i iachau holl glefydau y croen.

## Gwrnerth, Llysiau Llewelyn.—*Speedwell, Fluellin.*

PLANHIGYN bychan cyffredin yn ein gerddi sychion, ac ar ...sydd. Mae y cyrs yn chwech neu wyth modfedd o uchder ...c iddo ddail bychain hirgul; ymlusga fynychaf ar hyd y ...awr. Mae y dail o liw gwyrdd goleu, ac i raddau yn ...ewog, a'u hymylau yn fylchog; a blodau gleision bychain ...ldo, yn tyfu yn dywysenau meinion, yn dyfod allan yn mysg ... dail; y gwreiddyn yn fychan a llinynog.

Defnyddir yr holl lysieuyn; yn îr y mae oreu. Mae tê

hwn yn beth rhagorol i weithio trwy y dwfr, ac i symud rhwystrau: bernir ei fod yn nodedig i wella y gymalwst. Gwnaeth y dyb hon i bobl Llundain a'i chylch, ryw amser yn ol, drafferthu yn rhyfeddol i gasglu ei ddail, a'u dwyn i'r farchnad i'w gwerthu; a byddai llawer iawn yn eu prynu ac yn yfed eu tê. Da iawn fyddai pe byddai pobl ein trefi, a'r wlad hefyd, yn cymeryd dail rhyw lysiau iachus eto, ac yn yfed eu tê, yn lle y diodydd poethion a chryfion y rhai y mae hyd yn nod tlodion mor wancus am danynt, fel y gadawant eu hunain a'u plant yn fudron a charpiog, a'u tai yn nythau i bob budreddi ac afiechyd, er mwyn eu cyrhaedd. Bydded i wrthuni hyn gael ei ystyried.

Mae y llysieuyn hwn yn adfywiol a chryfhaol iawn, yn attal pob math o rydd-rediad, ac yn iachau archollion mewnol, trwy iachau a chryfhau y rhanau sydd yn wan; yn puro y gwaed, yn agor y chwys-dyllau, ac yn gyru pob gwenwyn o'r corph; ac felly yn esmwythau poen yn y pen, yn chwalu gwynt o'r cylla a'r coluddion, yn agor rhwystrau yn yr afu, y ddueg, a'r arenau, ac yn gwella y llŵg, y crafu, ac attaliadau y perfedd. Hefyd, mae yn gwellhau chwydd a chlwyfau yn yr ysgyfaint, y darfodedigaeth, crygni, a diffyg anadl. Mae cannoedd wedi ei brofi yn dda yn y graian, carchar dwfr, a phoen yn yr arenau; peswch, a diffyg anadl. Mae yn puro ymaith bob hylif drwg o'r pen, ac yn cryfhau y cof. Y ffordd oreu i'w ddefnyddio yw ei yfed yn feunyddiol fel tê: dyrnaid ar y tro.

## Gwylaeth, Golaeth.—*Lettice, or Lettuce.*

Ni raid desgrifio y rhai hyn, gan eu bod yn ddigon adnabyddus; a chan eu bod mor hawdd i'w cael, da fyddai i'r cyffredin wybod am eu rhinweddau. Pan fyddo rhyw un yn methu cysgu, o herwydd afiechyd neu rywbeth arall, ond iddo iro ei dalcen ac ychydig o'u sudd, bydd yn debyg o gael cysgu; os bydd poen yn y pen, gwna hyny ei ddofi. Mae y dail wedi eu berwi yn rhyddhau yr ymysgaroedd, ac yn cynorthwyo y cylla i dreulio y bwyd; yn tori syched, yn cynyddu llaeth mamau, ac yn esmwytho poen yn y cylla a'r bol, pan yn codi oddiar orlifiad y bustl. Dylid peidio bod yn eon iawn arnynt, rhag iddynt beri gormod o drymder, a diffyg anadl.

## Gwrthlys, Llys y Cyfog.—*Asarabacca.*

LLYSIEUYN gwyllt isel yw hwn, cyffredin mewn gerddi. Mae y gwreiddiau yn ymlusgo dros wyneb y tir; tyfa y dail oddiar y gwreiddiau, gan nad oes corsen i'r planhigyn hwn. Mae y ddalen yn gron a thew, o liw gwyrdd tywyll. Blodau bychain tywyllion sydd iddo: safant yn agos i'r llawr.

Mae y dail a'r gwreiddiau yn ir yn gyfoglyn ac yn garthlyn rhagorol. Dywedir fod 10 *grains* o lwch y gwreiddyn yn gyfoglyn da. Mae llwch y gwreiddiau, ond ei gymeryd fel *snuff*, yn feddyginiaeth werthfawr i symud rhwystrau yn y pen, ac felly i esmwytho poen, trymder, a syfrdandod ynddo. Mae yn llesiol i adfywio y clyw, ond tynu pedwar neu bump *grain* o'r llwch hwn i'r trwyn wrth fyned i'r gwely y nos, gwna symud llawer o lysnafedd ffiaidd o'r pen y bore canlynol, ac amrywiol o weithiau yn y ystod y dydd, yr hyn a rydd esmwythdra mawr i rai yn dyoddef oddiwrth y clefydau a nodwyd. Dylai dynion cnawdog a thewion fod yn ofalus wrth ddefnyddio y llwch hwn; gall fod yn beryglus iddynt hwy, am ei fod yn rymus.

## Gwyddfid, Gwinwydd y Perthi, Tethau'r Gaseg.—*Honey-suckle, Woodbine.*

DIAU genym fod pawb yn adnabod y llysieuyn hwn. Mae i'w weled yn mhob man lle byddo hen berthi cysgodol, yn eu hardduno mewn modd prydferth â'i flodau, y rhai sydd yn adfywio y teithiwr â'u peraroglau. Maent yn dda iawn rhag diffyg anadl, yn gwellhau y ddueg, yn cynhyrfu y dwfr i redeg, ac yn dda rhag y cwlwm gwythi, y dirdyniad, y parlys, a'r holl glefydau a achosir gan oerfel. Yn allanol, a'i wneud yn eli, fe gliria y croen oddiwrth frychau a brychni, ac a'i gwna yn ystwyth a iachus. Cofiwch mai y blodau a ddefnyddir at yr holl anhwylderau uchod.

## Helygen, Pren Helyg.—*Willow Tree.*

MAE tri math o Helyg yn gyffredin yn tyfu yn ein perthi: un math yw yr Helyg â'r dail meinion hirion; mae y rhai hyn yn tyfu yn rhywiog iawn, yn deg a hirion, a meinion eu cangau; ac felly defnyddir hwynt yn gyffredin pan yn

ieuainc i wneuthur basgedi â hwynt; a defnyddir rhai hynach at ffyn cylchau. Math arall ydynt goed bychain, geirwon, eu cangau yn fyrion, a'u dail yn fychain iawn. Math arall ydynt yn fwy rhywiog na'r olaf, ond nid mor rhywiog a'r cyntaf; mae eu rhisgl yn deg a'u cangau yn gryf ac yn sythion, a'u dail yn llydain ac yn fawrion, fel dail cyll, ond eu bod ychydig yn llai. Mae y fath hon yn gyffredin i'w cael ar hyd ein gwlad lle y byddo yr Helyg ereill yn tyfu. Y fath olaf a enwyd a ddefnyddir fel meddyginiaeth, a dylid bod yn fanwl yn eu dewisiad. Mae rhisgl y coed hyn yn fwy enwog na'r *Peruvian Bark*, am yr hwn y telir swllt yr wns i'r fferyllydd. Mae meddygon yn ddiweddar wedi cael allan ei fod yn fwy effeithiol a llwyddianus na Rhisgl Peru, i iachau y cylla oddiwrth wynt, llysnafedd, a surni, a chyfogi y bwyd; i iachau y cryd a'r mwyth, neu y Ddurton, ac i weithio pob anmhuredd o'r gwaed, a chryfhau yr holl gyfansoddiad. Mae yn feddyginiaeth enwog i iachau archollion mewnol, a gwaed-rediadau o unrhyw ran o'r corph, megys y genau a'r ffroenau; a phan y byddo gwythien wedi agor yn yr ysgyfaint, a gwaed yn dyfod i fyny gyda y poer, i attal y gwaed yn y ffordd hono; a phan y byddo y dolur rhydd arnoch, iacha ef yn ddiogel, pe byddai wedi myned yn glefyd y gwaed: ac os bydd gwaed yn colli o unrhyw ran o'r corph, mewn dyn neu ddynes, trwyth o risgl Helygen a'i iacha. Byddai yn dda i ddynion ag sydd wedi briwio eu hunain yn fewnol trwy gwympiadau, wneuthur defnydd mawr o hwn. Hefyd, mae tuedd cryf yn y feddyginiaeth hon i sychu pob hylif drwg o'r gwaed ag sydd yn achosi peswch, gwichian, a chyfyngder yn y pibau gwynt, a'r darfodedigaeth ei hun y pen draw. Yr un modd sycha hylif drwg a llysnafedd o'r pen, a chliria y llygaid, a iacha hwynt pan yn ddyfrllyd a chochion.

Fe wnawd gorchestion, yn yr oes o'r blaen, â'r *Peruvian Bark* yn holl anhwylderau y cylla, a'r Ddurton a gwendid a methiant yn y cyfansoddiad, ac i buro y gwaed yn y Gwanwyn. Paham na ellid gwneuthur mwy â rhisgl Helygen? Oblegyd mae Rhisgl Peru yn dyfod o bell iawn, ac felly yn agored i golli llawer o'i rinwedd, trwy esgeulusdra y casglyddion yn nghoedwigoedd yr Americ. Eilwaith, gall ddioddef llawer wrth ei gludo yn y llongau, trwy ei gadw

mewn lle llaith ; ac weithiau, wedi ei gael i siop y fferyllydd, cedwir ef flynyddau yno, yn agos i welydd gwlybion, nes y byddo agos wedi colli ei holl deithi meddygol erbyn y byddo yn nghylla y claf. Ond caniatewch fod ei rinwedd ynddo ; paham yr eir i goedwigoedd Deheudir America i ymofyn rhisgl pren, pan y mae ei well i'w gael yn ymyl ein tai ? A phaham fyth, yn enw pob rheswm, y telir *swllt yr wns* am dano i'r fferyllydd, pan y ceir faint ag a fynoch o'i well yn *rhad* oddiar yr Helygen, yn mherth y waen o dan y tŷ ? Chwiliwch am yr Helygen a ddesgrifiwyd uchod ; gellwch ei hadnabod yn hawdd pan y byddo yn ei llawn ddail. Naddwch y rhisgl oddiarno yr ochr nesaf i'r deheu i'r pren ; sychwch ef o dan y llofft, a phan y sycho yn drwyadl, rhwymwch ef yn dŷn mewn papyr, a chedwch ef mewn lle eithaf sych. Pan fyddoch am ei ddefnyddio, rhoddwch hanner dyrnaid mewn *tea-pot* o faintioli canolig, a llenwch ef â dwfr berwedig : yfwch ddarlwnc da o hono dair gwaith y dydd. Os bydd eich corph yn rhwymo gormod wrth ei gymeryd, rhoddwch ychydig o ryw wreiddiau neu lysiau rhyddhaol am ei ben ; cewch wybod am ddigon o honynt yma a thraw yn y llyfr. Dylech gofio bob amser bod y rhisgl yn rhwymawl ; mewn pob math o rydd-rediadau a gwaed-rediadau, mae yn eithaf pwrpasol heb ei gymysgu â dim arall : ond yn anhwylderau y cylla, yn gyffredin, a'r Ddurton, byddai yn dda ei gymysgu â rhyw gyffair rhyddhaol, fel yr awgrymwyd. Mae yn eithaf diniwed, yn rhyfeddol o effeithiol, yn *rhad* ac am ddim ; a mwy na'r cyfan gan lawer, nid ydyw yn ffiaidd gan yr archwaeth.

## Hoccys, y Feddalai.—*Mallows.*

Mae y werin yn adnabod y llysieuyn hwn, ac felly ni raid ei ddesgrifio : mae Awdwr doeth a daionus natur wedi gofalu am fod y llysieuyn gwerthfawr hwn yn tyfu yn gyffredin yn ein hymyl ; ceir ef yn fynych mewn gerddi, ac o gylch tai. Mae y gorsen yn gron, ffyrf, a chref ; y dail yn grynion, a'u hymylau yn fylchog ; ac mae blodau cochion mawrion arno. Mae gwreiddyn gwyn, mawr, gwydn iddo, ac nid yw ei flas yn anhyfryd.

Defnyddir yr holl blanhigyn ; ond y gwreiddyn sydd

fwyaf rhinweddol. Rhoddir y dail yn hirion neu wedi eu sychu mewn cnwistrell-feddyginiaeth; a gellir sychu y gwreiddyn, ond mae yn well yn îr, a dylid ei ddewis ef, yn enwedig pan na byddo ond dail yn tyfu arno, cyn yr ymddangoso y gorsen. Gellir gwneyd tê lled gryf o hono; nid yw ei flas yn anhyfryd; gellir bod yn eofn arno; gweithia yn nerthol trwy y dwfr, ac felly i symud y graian, a llynoedd surion y corph. Mae yn dda hynod i'w gymysgu â llysiau ereill i agor y corph, ac i yru ymaith geri a llysnafedd afiach; yn oeri gwres mewn twymynon llosgedig; yn oeri gwres yr ysgyfaint a'r cylla, ac yn agor y corph pan y byddo tuedd rhwym ynddo. Mae yn dda hefyd rhag gwenwyn o bob math. Yn allanol, mae yn feddyginiaeth gyffredinol rhag pob chwydd yn y cnawd, megys yr awel neu y *blast*, trwy fwydo y manau yn fynych â'i drwyth yn gynes.

Mae math o Hoccys bychain, ac iddynt flodau gwynion, ac yn gorwedd ar y llawr. Mae blas y rhai hyn yn fwy hyfryd nag eiddo y rhai cyffredin, a meddant yr un rhinweddau. Mae tê blaenau cyrs a gwreiddiau y rhai hyn yn hyfryd ei flas, ac yn rhagorol i gynhyrfu y dwfr.

## Hoccys Morfa, Mor Hoccys, Hoccys y Gors.—*Marsh Mallows.*

PLANHIGYN lled uchel, gwyllt yw hwn, o'r un natur â'r un blaenorol, ond yn gryfach. Mae tê hwn yn beth rhagorol iawn i gynhyrfu y dwfr, symud graian, a threulio y gareg, esmwytho peswch, &c.

Mae tê yr hadau, wedi eu berwi mewn gwin, yn feddyginiaeth nerthol i wella digroeniad yr eisglwyf *(pleurisy)*, clefydau y ddwyfron, a'r ysgyfaint, ag a fyddo wedi eu hachosi gan boethder, ond ei gymeryd dros ychydig amser yn olynol. Gwna tê y dail a'r gwreiddiau yr un peth, ac mae ei sudd yn effeithiol iawn i'r dybenion a nodwyd. Gwna plastyr o'r dail wedi eu hysigo gydag ychydig o fêl, wella pendduod poethion o gylch y llygaid, a rhanau ereill. Dywedir y gwna tê y gwreiddiau symud effeithiau bob math o wenwyn, a pheri i'r gwenwyn gael ei fwrw o'r cylla.

Gwna plastyr o'r dail, wedi eu hysigo a'u berwi gydag ychydig o flawd ffâ neu haidd, ac ychydig o olew Rhôs

ynddo, iachau pob math o gornwydon poethion a digofus, a thyneru yr afu a'r ddueg pan wedi caledu, ond ei gyfleu wrth y lleoedd priodol. Mae y sudd a'r tê yn effeithiol i wella crach yn y pen, &c.; i iachau llosg tân, Tân Iddwf, a phob math o chwydd poeth a phoenus. Gwna golchi yn nhrwyth y dail, y gwreiddiau, neu y blodau, les mawr i dynu llynoedd drwg o'r pen; ond golchi y pen ag ef, gwna les i attal y gwallt i syrthio. Mae Hoccys y Gors yn fwy effeithiol na'r lleill i'r holl ddybenion a nodwyd.

Mae y gwreiddyn yn dda nodedig i wella peswch a chrygni, byrdra anadl, gwichian yn y gwddf, &c., ond ei ferwi mewn gwin neu ddwfr, wedi cymysgu ychydig fêl ag ef. Gwna trwyth o'r gwreiddiau a'r hadau les mawr i attal llifiad gwaedlyd yr ymysgaroedd *(bloody flux)*, i esmwytho y coluddwst, a dirdyniadau y gewynion. Ond berwi y gwreiddiau mewn gwin gwyn, gwna les mawr i ostwng chwydd yn y gwddf, a elwir clefyd y brenin, a chwydd yn mronau gwragedd. Mae te y gwreiddiau sychion wedi eu berwi mewn llaeth, yn beth rhagorol i wella y pâs.

Gellid cael tê nodedig iawn trwy ferwi y gwreiddiau mewn gwin, i rai a fyddont wedi derbyn niweidiau trwy gwympiadau neu ergydion, neu fod cymal wedi myned o'i le: ni ddylai pobl yn ymyl gweithiau fod hebddo.

## Isop.—*Hyssop.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd yr ardd. Dygwyd ef gyntaf i'r wlad hon gan *Gerard*, yn y flwyddyn 1696. Mae yn awr wedi ymledu trwy erddi y deyrnas; ac y mae pob un sydd yn ei gadw yn ei ardd yn ei adnabod, fel nad oes eisiau trafferthu i'w ddesgrifio. Mae yn llysieuyn hyfryd ei arogl, a lluosog ei rinweddau. Yn mysg amrywiol o bethau, dywed ysgrifenwyr y pethau canlynol:—ei fod yn iachau crygni a pheswch, a diffyg anadl. Gwn fy hun am amrywiol a gafodd les mawr wrth yfed tê Isop yn y doluriau uchod. Mae yn clirio llawer ar y pipau gwynt, ac yn rhwyddhau yr anadl; ond y mae yn fwy effeithiol at anhwylderau y ddwyfron wrth roddi mel am ei ben yn lle siwgr, pan yn ei yfed fel tê.

Hefyd, mae y llysieuyn hwn yn effeithiol yn allanol i

iachau cleisiau ac ysigiadau oddiwrth ergydion a chwympiadau, os bydd y croen yn gyfan. Os bydd y cnawd wedi duo mewn rhyw fan ar y corph, ac yn chwyddo yn gyflym o achos cic gan geffyl, neu ryw ergyd gan gareg neu bren, neu ryw ddamwain arall, rhedwch i'r ardd, a thorwch ddyrnaid o frîg tyner y llysieuyn hwn, maluriwch ef â chyllell mor faned ag y galloch, ac yna cymerwch gnepyn o ymenyn, a phwywch yr Isop a'r ymenyn am ben eu gilydd a morthwyl ar gareg, hyd nes y b'ont yn eli gwyrdd, a rhoddwch ef ar y clais, ac fe a esmwytha y poen yn fuan, ac a symud ymaith y chwydd a'r drygliw yn gyffredin erbyn tranoeth.

## Lafant, Llwyn Cottymog.—*Lavender.*

Y MAE y llysieuyn hwn yn breswylydd yr ardd, ac yn ddigon adnabyddus i'w berchenog, fel nad oes eisiau ei ddesgrifio. Mae o ansawdd gwresog, ac felly yn feddyginiaeth gwerthfawr yn holl anhwylderau y pen a'r ymenydd, a achosir gan yr haint-ddygwydd, y parlys, y dyfrglwyf, y dirdyniadau, y cwlwm gwythi, a'r llewygon. Mae yn awchu y cylla, yn agor rhwystrau yn yr afu, y ddueg, a rhodfeydd y dwfr. Mae yn gyfaill anwyl i'r pen, a gellwch fod yn eofn arno.

## Lili y Dyffrynoedd.—*Lily of the Valley.*

MAE y planhigyn prydferth hwn yn chwech neu wyth modfedd o uchder; ei ddail yn fawrion, hirion, a llydain, o liw gwyrdd tywyll, ac yn llawn gwythienau tewion. Corsen werdd, fain, a chymalog sydd iddo, yn crymu yn y blaen, ar yr hon y croga rhês o flodau gwynion, ag iddynt arogl hyfryd, canlynir y blodau gan rawn cochion, pan yn addfed. Mae y blodeuyn nid yn unig yn un o'r rhai prydferthaf, ond hefyd yn un o'r rhai mwyaf defnyddiol. Mae yn rhinweddol neillduol i symud rhwystrau o ffordd y dwfr. Mae y blodau wedi eu gwneuthur yn llwch, yn effeithiol iawn i esmwytho poen yn y pen a'r clustiau, ac i wneuthur lles i'r parlys mud; ond dylid peidio ei ddefnyddio os bydd tuedd at boethder yn yr ymenydd. Gellir gwneuthur sugaethan gwerthfawr iawn o'r blodau i'w osod wrth esgyrn cefnau plant a flinir gan y llesmeir-glwyf *(falling sickness.)*

## Llaeth yr Ysgyfarnog, Llysiau y Cyfog, Fflam-goed.—*Wolf's Milk, Spurge.*

MAE amrywiol o fathau o'r llysieuyn hwn yn tyfu yn ngwahanol barthau y wlad: mae yr un a ddefnyddir yn feddyginiaeth, yn cael ei godi mewn gerddi; mae tua dwy neu dair troedfedd o hyd; y gorsen yn gron, fferf, a chochlyd, yn ymranu i amrywiol o ganghenau. Mae y dail yn lluosog, yn wasgaredig ar hyd y gorsen, o liw gwyrdd goleu, ac yn gulion: yn eu blaenau maent letaf. Y blodau yn fychain, o liw melyn gwan, ond mae yr hadau yn fawrion, ac i'w gweled yn lled amlwg ar flaenau y cangau. Mae y gwreiddyn yn ffyrf a hir; y canol yn galed, a'r rhisgl yn dew.

Defnyddir y rhisgl yn sych; mae ei drwyth yn gweithio yn gryf i beri ystôl a chyfogi, ac mae yn feddyginiaeth werthfawr i wella y gewynwst a'r dyfrglwyf; ond gan ei fod mor gryf, prin y mae yn addas i'w roi i bersonau gweinion.

## Llewyg y Blaidd.—*Hops.*

Mae y llysieuyn hwn yn ddigon adnabyddus; ac felly ni raid ei ddesgrifio: y rhan amlaf o'r rhai y mae a fynant â darllaw gwyddant rywbeth am dano. Mae tê hwn yn effeithiol iawn i symud rhwystrau yn yr afu a'r ddueg, i buro y gwaed, rhwyddhau yr ymysgaroedd, glanhau yr arenau, symud y graian, a chynhyrfu y dwfr: mae trwyth blaenau y rhai dôf a'r rhai gwyllt o'r un natur. Mae yn rhinweddol neillduol i wella crach, y crafu, ac unrhyw wres a doro allan trwy y croen. Mae tê y blaenau a'r blodau yn beth grymus iawn i fwrw ymaith wenwyn a fyddo dyn wedi ei yfed; a lladd llyngyr yn y bol. Mae cyffaith *(syrup)* wedi ei wneuthur o'r sudd yn gymysgedig â siwgr yn effeithiol iawn i wella y clefyd melyn, llaesu poen yn y pen a achosir gan wres; a thymeru poethder yn yr afu a'r cylla.

Mae powdr y llysieuyn hwn wedi ei sychu mewn ffwrn, wedi gwella y wrach droiau.

## Llewyg yr Iar.—*Henbane.*

PLANHIGYN gwyllt cyffredin yw hwn, o liw tywyll trym-

aidd, ag iddo arogl anhyfryd. Gwelir ef yn fynych yn muarthau tyddynwyr, yn ymyl ffyrdd a muriau. Mae y gorsen yn ffyrf, cron a blewog, yn ddwy neu dair troedfedd o uchder. Y dail yn fawrion, tewion, a gwlanog, a bylchau dyfnion yn eu hymylau, o liw llwyd-ddu; mae sylwedd glydiog yn y cyrs a'r dail yn glynu wrth y llaw pan gyffyrdder â hwynt, ac yn gadael arogl anhyfryd ar eu hol. Mae y blodau yn fawrion, yn sefyll yn rhesi ar flaenau y cangau, y rhai yn gyffredin a blygant eu penau; maent o liw llwyd-felyn dyeithr, a gwythienau glas goch trwyddynt. Mae yr hadau yn lluosog, ac o liw llwyd. Mae y gwreiddiau yn yn hirion, ffyrf, yn ymledu i amrywiol o ffyrdd trwy y ddaear, mor debyg i wreiddiau Pannas, ond nad ydynt mor wyn, fel y maent wedi eu cymeryd yn eu lle: mae arogl yr holl blanhigyn yn gryn anhyfryd. Mae yn blodeuo tua Mehefin, ac yn tyfu yn flynyddol o'i heuad ei hun.

Mae y dail yn rhinweddol i oeri pob poethder yn y llygaid a gwahanol ranau y corph, i ostwng pob chwydd mewn unrhyw aelod, ond eu berwi mewn gwin, a golchi y lle dolurus â hwynt, ac â'r trwyth cynes. Maent yn effeithiol hefyd i ddofi poen y gymalwst, y glunwst, ac unrhyw boen arall yn y cymalau a achosir gan wres. Ond eu mwydo mewn finegr, a'u rhoi wrth y talcen a'r arleisiau, esmwythânt boen yn y pen mewn twymynon poethion, a thueddant y claf i gysgu. Gwna sudd yr hadau yr un peth; gwna sudd y llysieuyn les i'r clyw, ac a lanha y clustiau, ond ei ddiferu iddynt. Gwna trwyth y llysieuyn a'r hadau ladd llau ar ddyn neu anifail; ond llosgi y llysieuyn, gwna ei fwg wella y llecheira *(chilblains)* yn y traed neu y dwylaw, ond eu dal dros ychydig ynddo, a gostynga chwydd hefyd.

Dylid peidio cymeryd y llysieuyn hwn un amser yn fewnol; ond yn allanol; mae ei olew, ei enaint, neu blastyr o hono, yn rhinweddol iawn i ddofi y gymalwst, i oeri gwres yn yr arenau, i attal y ddannodd, ond ei roi wrth y lle dolurus, ac i oeri unrhyw boethder.

Pe dygwyddai i ryw un, mewn camgymeriad, ei gymeryd yn fewnol, bernir mai y feddyginiaeth oreu yw yfed llaeth geifr, dwfr, a mêl; neu, yn absenoldeb y rhai hyn, trwyth Ffenigl neu had Danadl, Wniwn neu Arlleg wedi eu mwydo mewn gwin.

## Llin.—*Flax.*

PLANHIGYN tlws a gwasanaethgar iawn yw hwn, a wrteithir er mwyn eu hadau yn benaf. Mae tua thair troedfedd o uchder; mae y gorsen yn gron, cref, main a syth; mae dail bychain hir-gul iddo, yn sefyll yn dew ar hyd y gorsen. Ymrana y gorsen tua'r blaen i dair neu bedair o ganghenau; ac ar y rhai hyn y saif y blodau, y rhai ydynt fawrion, o liw glas. Dilynir y rhai hyn gan yr hadau.

Mae tê yr hadau yn beth rhagorol i wella peswch a chlefydau y ddwyfron a'r ysgyfaint; ac mae yr hadau wedi eu dryllio yn dda iawn i wneuthur plastyr i ostwng chwydd ac i wneuthur trwyth i'r un perwyl: mae olew yr hadau yn effeithiol i symud y graian a'r gareg.

## Llin y Llyffaint, Llin y Forwyn, Gingroen Fechan.—*Toad Flax.*

LLYSIEUYN gwyllt yw hwn, ag iddo ddail gleision culion, a thywysenau trwchus o flodau melynion. Tyfa ar dwyni sychion, ac mae tua throedfedd a hanner o uchder. Un gorsen sydd iddo, yr hon sydd yn gron, cref, a syth. Mae y dail yn afreolaidd ar hyd-ddi, y rhai ydynt yn hirgul, llyfnion, eu hymylau yn gyfain, a'u blaenau yn feinion. Mae y blodau yn fawrion, a llawer o honynt yn agored ar yr un pryd: mae iddynt yspardyn ar y tu ol, a dau fath o felyn yn eu gwynebau: y canol yn dywyllach na'r ddwy ochor. Defnyddir y blaenau a'r planhigyn yn ir. Gellir gwneuthur trwyth gwerthfawr trwy dywallt dwfr berwedig arno i wella y clefyd melyn, a rhwystrau mewnol, y dyfrglwyf, &c.: gweithia trwy y dwfr. Gellir gwneuthur eli rhagorol trwy ferwi y blodau a'r dail wedi eu tori yn fân yn gymysgedig â bloneg, ei ollwng trwy ogr. Ceir felly eli gwyrdd rhagorol. Mae yr eli hyn wedi iachau tarddiadau yn y croen, wedi i feddygon arferyd moddion ereill dros flynyddau yn aneffeithiol.

## Llin y Mynydd.—*Mountain Flax.*

MAE digon o'r llysieuyn hwn yn tyfu mewn daear wleb lled ddiffrwyth, mewn gweirgloddiau a chaeau porfa. Nid yw

ond eiddilaidd a disylw ei olwg, o gylch rhychwant o hyd; ei gorsen yn fain, yn taenu yn fân ganghenau tua'r blaen, a blodeuyn gwyn bychan ar flaen pob cangen. Er mor ddichwedd ei olwg yw y llysieuyn hwn, mae'n garthiedydd cryf iawn. Mae bysaid o hono, a pheint o ddwfr berwedig arno, yn ddigon yn gyffredin o ddogn, a'i yfed wrth fyned i'r gwely. Pe rhoddid lloned llwy fwrdd o had Garddwy neu had Anis gyda hwynt, gweithient yn esmwythach. Maent wedi gwneyd lles anghydmarol i laweroedd o ddynion pan fyddai poen yn y cylla a'r coluddion, yn cael ei achosi gan lysnafedd a geri wedi glynu yn y cylla a'r ymysgaroedd. Bydd rhaid eu casglu pan yn eu blodau.

## Llindro, Llindag.—*Dodder.*

Planhigyn lled ryfedd yw hwn, ond cryn gyffredin; cyrs a blodau ydyw oll, heb ddim tebyg i ddalen arno. Mae y cyrs yn droedfedd neu ddwy o hyd; maent o liw coch-las, o ffyrfder edafedd cryf, ac yn wydn. Maent yn ymglymu o gylch cangau planhigion, ac o gylch eu gilydd yn y fath fodd fel nad hawdd yw eu dadrys. Tyfa y blodau yn benau bychain cochlyd, ac mae pedwar hedyn yn canlyn pob un o honynt.

Yn îr y mae y llysieuyn hwn oreu; mae i'w ferwi mewn dwfr gydag ychydig Sinsir ac *All-spice;* a gweithia y tê yn nerthol a chyflym trwy ystôl: gwna hefyd symud rhwystrau yn yr afu, ac y mae yn rhinweddol i wella y clefyd melyn, a llawer o glefydau ereill a achosir gan yr un peth.

## Lloerlys, Lloer-redynen, Dibedoliad y Meirch.—*Moon-wort.*

Mae hwn yn blanhigyn tlws iawn, ond anaml ei gwelir: mae tua chwech modfedd o hyd; cynwysa gorsen, un ddalen a blodau. Mae powdr y llysieuyn hwn, yn effeithiol i arafu y carthion; mae y planhigyn, ond ei ysigo a'i roi wrth archoll, yn beth rhagorol i attal y gwaed, a gwna iachau y clwyf yn fuan.

## Llosglys, Briwlys.—*Mezereon.*

Planhigyn tlws iawn yw hwn, ac a geir mewn llawer o

erddi. Mae yn nghylch pedair troedfedd o uchder, ac iddo lawer o gangau. Dail hirgul sydd iddo, yn tyfu yn sypynau ar wahanol gnapiau ar y rhisgl. Mae iddo flodau cochion bychain, y rhai a ddilynir gan rawn duon pan yn addfed. Rhisgl y gwreiddyn, neu risgl mewnol y cangau sydd i'w ddefnyddio. Mae yn feddyginiaeth gref; a dylid bod yn ofalus na chymerer ond dognau bychain o hono, a'r rhai hyny yn unig gan rai o gyfansoddiadau cryfion. Pair gyfogiad, ac ymgarth *(stool)* gwaedlyd i bobl weinion; ac i bawb, os cymerir dognau mawrion o hono. Ond i ddynion cryfion ni wna ond peri ymgarth bywiog ond cymedrol. Mae yn effeithiol iawn i wella y dyfrglwyf, a chlefydau cyndyn.

## Llun Troed yr Arth, Crafanc yr Arth.—*Hellebore, Bear's Foot.*

Mae dail y llysieuyn hwn yn effeithiol iawn i ladd llyngyr. Ond gan ei fod yn llysieuyn cryf iawn, rhaid bod yn ofalus rhag cymeryd dogn rhy gryf o hono. Gellir rhoddi tê o ddram o'r dail irion, neu 15 *grain* o'r dail sychion yn bowdr i blant, o bedair i saith mlwydd oed, dros ddau neu dri boreu. Mae sudd y dail yn irion, yn gymysgedig â siwgr llwyd, yn dda iawn i'r perwyl: dylid gwlychu y dail mewn finegr cyn eu gwasgu: gwna hyny y dogn yn llai gwrthwynebus i'r cylla. I blentyn, o ddwy i chwe' blwydd oed, rhodder y dogn yn wanach.

## Llus, Llusi Duon Bach.—*Bilberries.*

Mae y rhai hyn yn lled adnabyddus i rai yn anneddu yn ymyl coedwigoedd a mynyddoedd y Dywysogaeth. Mae y pren yn blodeuo yn Mawrth ac Ebrill, ac addfeda y ffrwyth yn Gorphenaf.

Trueni na byddai y ffrwythau hyfryd hyn yn cael eu defnyddio yn fwy fel meddyginiaeth. Mae sudd Lusi, wedi ei wneuthur yn bereiddfwyd cymysgedig â siwgr, yn rhinweddol i ddofi cryd poeth, ac oeri poethder yn yr afu a'r cylla. Tuedda i rwymo yr ymysgaroedd, ac attal cyfogiad; mae yn dda rhyfeddol i wella hen beswch, a chlwyfau yn yr ysgyfaint.

## Llwyd y Cwn, Mor Ddanadl Gwyn.—*Horehound.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd y maes, yn hoffi awyr y môr, yn tyfu ar y traethydd, ac ar ddaear sych mewn amrywiol fanau; gwelais lawer o honynt ar fynydd Dref-newydd, ac ar y Filltir Aur, yn mro Morganwg: ond yn gyffredin fe'u cedwir mewn gerddi, er mwyn eu rhinweddau meddygol. Corsen betryal, yn droedfedd o hyd pan mewn gardd, ond nid yw ond byr pan yn wyllt: dail crynion, crychiog, blewog, llwydion, a blodau gwynion yn dyfod allan tua blaen y gorsen, yn fath o gribyn pigog. Mae ei arogl yn hyfryd, ond ei flas yn eithaf chwerw.

Maent yn dda hynod rhag anhwylderau y ddwyfron, megys anadl byr, cyfyngder a gwichian yn y pibau gwynt, a pheswch y darfodedigaeth; yn cynorthwyo y poer i ddyfod i fyny yn rhwydd ac esmwyth. Maent yn feddyginiaeth rymus rhag anhwylderau y rhyw fenywaidd, i gynhyrfu y dwfr, a symud carthiadau genedigaeth. Mae yn agor rhwystrau yn yr afu, y ddueg, a'r holl ranau mewnol, ac felly yn gwella y clefyd melyn, a'r pigiadau mwyaf poenus yn yr ochrau. Hefyd, maent yn wrthwenwyn feddyginiaeth ragorol; yn gwella brathiadau nadredd, a chnoadau cwn cynddeiriog. Y maent yn awchu y cylla, yn arllwys pob anmhuredd o hono, yn lladd llyngyr o bob math, ac yn puro y gwaed. Mae llawer yn ei ferwi mewn llaeth newydd odro rhag y darfodedigaeth, ac yn yfed y llaeth yn chwlaeth bob dydd. Yr wyf yn golygu y feddyginiaeth hon yn un enwog iawn, oblegyd mae tuedd cryf yn y llaeth ei hun i iachau y clefyd hwnw, ond yn fynych mae yn methu cytuno â chylla y claf; ond wedi berwi y llysieuyn hwn ynddo, bydd yn dra siwr o gytuno â'r cylla, ac yn llawer mwy pwrpasol fel meddyginiaeth; ond dylai y claf fyw agos ar y llaeth Horehound hwn, oddieithr iddo fwyta ychydig o fara yn awr ac eilwaith, gydag ef. Neu, os bydd yn well gan y claf, gall wneyd tê o hono, a'i gymysgu â llysiau ereill, megys y Glafrllys, Marchalan, Blodau Carn yr Ebol, a Llysiau Llewellyn, a rhoddi digon o fêl neu siwgr *candy* ynddo; gwn am amrywiol sydd wedi cael daioni annhraethol oddiwrth y tê uchod, ag oeddynt yn methu symud braidd, gan beswch a diffyg anadl. Mae *Essence of Horehound* yn cael ei werthu gan y fferyllydd, fel

un o'r meddyginiaethau goreu rhag y peswch a chyfyngder yn y ddwyfron; ac mae wedi gwneyd gorchestion yn y cyfryw amgylchiadau; mae yn dra siwr o effeithio meddyginiaeth bob amser, os cymerir ef mewn pryd. Prif feddyginiaeth yr Americaniaid rhag brathiad seirph, yw tair wns o wraidd Llydain y ffordd, a'r un faint o Llwyd y cwn, a'u berwi mewn dau chwart o ddwfr ffynon, hyd oni threulio i un, a'i ranu yn dri dogn, a'u cymeryd y tri boreu nesaf i'w gilydd. Yn allanol, maent yn hynod o dda rhag holl anhwylderau y croen, megys y darddwden, yr eryrod, y crach, a'r crafu, i wneyd trwyth neu eli o honynt. Mae yn llysieuyn iachus a hollol ddiniwed; gellwch fod mor eofn ag y mynoch arno. Torwch ef yn yr Haf pan yn ei rym, a sychwch ef, a chedwch ef at eich gwasanaeth. Cofiwch fod y peswch yn waeth yn gyffredin yn y Gauaf na'r Haf; nid oes dim yn well na darparu y feddyginiaeth mewn pryd.

## Llygad Ebrill.—*Pile-wort.*

Nid yw y llysieuyn ond isel a bychan, yn tyfu ar ochr hen gloddiau gwlyb cysgodol yn gynar yn y Gwanwyn. Maent yn eu blodau cyn y byddo fawr llysiau ereill wedi blodeuo. Mae eu dail ymron yn grynion, o liw gwyrdd tywyll, ac ysmotiau goleu ynddynt. Mae wrth eu gwreiddiau lawer o gnapiau hirgrynion, fel cylchau yn hongian, a'u blodau o liw melyn hardd, yn taenu fel seren ar led. Maent yn blodeuo yn wastad yn mis Ebrill. Mae y llysieuyn hwn yn feddyginiaeth enwog rhag clwyf y marchogion *(piles)*. Os bydd y dolur poenus hwn yn fewnol, gwell yw yfed tê cryf o hono; ond os bydd yr anhwyldeb yn allanol, gwell pwyo y gwraidd a'r dail, a'u berwi mewn ymenyn heb halen, nes y byddont yn eli gwyrdd, a'i hidlo, ac eneinio y lle ag ef. Hefyd, gweithia y llysieuyn hwn yn rymus yn ffordd y dwfr, a glanha yr arenau a'r bledren o bob graian a rhwystrau; ac y mae yn oeri unrhyw fflamegau yn y rhanau hyny. Oer a thyner yw y llysieuyn hwn, a chwi a ellwch fod yn eofn arno mewn pob anhwyldeb ag y fyddo yn tarddu oddiar wres.

## Llygad yr Ych.—*Ox-eye May-weed, Stinking Camomile.*

Llysieuyn tlws yw hwn, ond lled anhawdd i'w gael. Tyfa i

tua throedfedd a hanner o uchder; mae y gorsen yn gref, a llawer o ddail arni. Mae arno gryn lawer o flodau melynion mawrion, tebyg i flodau Gold Mair. Mae y llysieuyn hwn yn îr, ond ei ferwi mewn cwrw, yn feddyginiaeth nodedig i wella y clefyd melyn.

## Llygad yr Ysgyfarnog, Llysiau Benet.—*Avens, The Herb Benet.*

Llysieuyn yw hwn sydd yn ymhyfrydu mewn hen gloddiau a pherthi cysgodol, a dail asgellog, gwyrddion iddo; mae y dail mwyaf ar flaen yr asen, a'r dail manaf tua bôn yr asen. Mewn daear dda, maent yn ddail llawnion, geirwon, yn fylchau mân; ond yn gyffredin, lle mae daear lled lom, nid yw y llysieuyn ond bychan; fynychaf ni welir ond tair dalen ar flaen yr asen, yr un fath a dail Syfi. Mae y gorsen yn gron, ac yn lled eiddil, yn taenu yn fân ganghenau tua'r blaen, a blodau o liw melyn gwan ar ei blaen, pum dalen yn mhob un, a chnap garw, pigog yn y canol, yn debyg i lygad ysgyfarnog. Gellwch gael digonedd o honynt mewn coedydd cysgodol. Mae yn ei rym yn mis Mehefin.

Mae y llysieuyn hwn yn un o'r llysiau goreu sydd yn tyfu, rhag anhwyldeb y ddwyfron, brathiadau yn yr ochrau, yn rhyddhau, yn ymlid, ac yn arllwys hylif afiach o'r cylla a'r coluddion, a thrwy ei rinweddau cynes a iachusol mae yn cryfhau yr holl ranau mewnol. Hefyd, mae yn iachau clwyfau mewnol ac allanol, yn gwella poeri gwaed, ac yn chwalu gwaed wedi ceulo trwy ysigiadau a chwympiadau; byddai yn dda hynod i ddynion ag a fyddo wedi cael eu llethu neu eu briwio trwy gwympiadau tân-ddaearol, wneud defnydd o'r llysieuyn hwn i'w iachau a'u hail asio oddifewn. Yr un modd egyr rwystrau mewnol, llona'r galon, cryfha'r cylla a'r ymenydd, a nertha yr holl gyfansoddiad yn erbyn gwenwyn a'r plâ. Mae hwn yn un o berthynasau Llysiau'r Fyddau, yn beraidd, cynes, ac iachus. Gellwch roi dyrnaid o hono mewn *tea-pot*, a'i lenwi o ddwfr berwedig, ac yfed o hono pan fynoch. Mae yn hollol ddiniwed.

## Llys y Gwrid.—*Alkanet.*

Codir y llysieuyn hwn yn Ffrainc a'r Almaen er mwyn ei

rinweddau. Dywedir ei fod yn rhwymol, ac yn dda i wneuthur eli at glwyfau : ond yn anaml ei defnyddir.

## Llysiau y Blaidd, Bleidd-dag.—*Wolf's Bane, Monk's Hood.*

LLYSIEUYN bychan yw hwn, tua throedfedd o uchder, ag iddo ddail gwyrddion rhanedig, a blodau melynion. Mae yn tyfu yn syth ; mae ei gorsen yn gref, onglog, a blewog ; a'r dail yn wasgaredig ar hyd-ddi. Mae y blodau yn fawrion, a chneyllog : mae eu harogl yn hyfryd. Mae llestri yr had yn groenenog, yr hadau yn dduon : y gwreiddyn yn gnapiog ; ambell dro nid yw oll ond un cnepyn. Tyfa yn naturiol yn yr Almaen ; a cheir ef yn fynych yn ngerddi y wlad hon. Ni ddefnyddir ond y gwreiddyn yn feddyginiaethol. Bernir ei fod yn effeithiol iawn i wrthweithio gwenwyn. Ond anaml y defnyddir ef yn awr.

## Llysiau Cadwgan Gwylltion.—*Wild Valerian.*

MAE digon o'r llysieuyn hwn yn tyfu ar hyd cloddiau, ac yn ymyl cwterydd lle y byddo tir llaith. Mae ei ddail yn asgellog ; dalen ar gyfer dalen ar yr asen ganol, a dalen anghynifer ar y blaen o liw gwyrdd goleu ; corsen gron syth, yn ddwy neu dair troedfedd o uchder, a phwysi o flodau mân gwynion arni, a gwawr gochlyd arnynt. Trueni bod y llysieuyn hwn mor ddieithr yn ein gwlad o ran ei deithi meddygol, ac yntau yn llysieuyn mor enwog. Ni chynyrcha ein gwlad lysieuyn mwy rhinweddol na hwn rhag pangau y famwst, gwendid y gewynau, iselder yspryd, poen yn y pen, a gorguriad y galon ; yn nghyd a'r holl anhwylderau a ddeilliant o annhrefn y cysawd gewynawl.

Mae holl rinwedd y llysieuyn hwn yn y gwreiddiau. Rhaid eu casglu yn gynar yn y Gwanwyn, neu yn ddiweddar yn yr Hydref. Planhigion gweddol ieuainc, cyn y rhedont yn gyrs, yw y rhai goreu ; ac y mae gwreiddiau y rhai hyn yn well yn sych nag yn iraidd. Mae ganddynt arogl ffiaidd, cryf, treiddiol iawn ar ol sychu, ac effeithiol iawn ar y gewynau. Ni chollant fawr o'u harogl er eu gadael yn yr awyr am flynyddau. Gellwch eu curo yn llwch ; a chymeryd llonaid llwy dê o'r llwch hwn ddwy neu dair gwaith y dydd. Neu gellwch friwio haner wns o honynt, a'i yfed fel tê.

## Llysiau'r Cwsg, Popi Dof.—*Poppy.*

Mae y llysieuyn hwn yn cael ei hau yn y gerddi, ac yn adnabyddus i'w berchenog. Mae dau fath o hono; un a blodau gwynion, a'r llall a blodau o liw coch tywyll. Mae math arall yn tyfu yn wyllt yn y caeau ŷd, yr un fath a'r un dôf, ond ei fod yn llai o faintioli. Y brig a'r hadau a ddefnyddir yn gyffredin fel meddyginiaeth. Mae ei sudd yn wyn a chwerw; ac o'i sudd y gwneir *opium.* Mae ei natur yn oer a sych, ac yn tueddu yn gryf i lonyddu y cyfansoddiad pan mewn poen, a pheri cwsg ac esmwythder. Mae yn attal hylif drwg i ddisgyn ar yr ysgyfaint, yn attal y darfodedigaeth, os cymerir ef mewn pryd; yn iachau crygni, gwendid yn y llais, a pheswch.

Yn allanol, mae penau y Popi yn hynod o dda, a'u berwi mewn dwfr, i fwydo unrhyw chwydd yn y cymalau, ac i laesu poenau anghenddol yn y cluniau, wrth wlychu y manau â'i drwyth yn dwym. Yr un modd esmwythâ y *rheums* yn y danedd a'r wyneb, wrth eu mwydo â'i drwyth yn gynes. Mae yn llysieuyn annhraethol dda rhag unrhyw boenau a chwydd allanol. Dylid tori y brig pan y byddo yr hadau yn addfed, eu rhwymo mewn cwdyn papyr, eu cadw mewn lle sych, a'u defnyddio wrth eich angen. Os na bydd Llysiau y Cwsg yn eich gerddi, gellwch eu cael mewn hen gaeau llafur, yn gyffredin; ac y mae y rhai hyny lawn mor effeithiol a Phopi y gerddi. Torwch eu penau pan yn addfed, a gwnewch yr un modd â'r rhai hyny ac â'r rhai dofion. Gofalwch beidio eu troi a'u penau lawr wrth eu tori, onide cyll yr hadau oll.

## Llysiau y Ddannodd.—*Master-Wort.*

Planhigyn yw hwn heb ynddo fawr tlysni, ond a godir yn ein gerddi er mwyn ei rinweddau: mae tua dwy droedfedd o uchder; y gorsen yn gron, rhychiog, cau, a syth, ddim yn gref iawn. Gwneir y dail i fynu megys o dair dalen lai; maent o liw gwyrdd tywyll, eu blaenau yn llydain, a'u hymylau yn fylchog, yn lled debyg i Lysiau yr Ysgyfaint. Blodau bychain gwynion sydd iddo, yn sefyll yn fath o dywysenau ar flaenau y cangau. Mae y gwreiddyn yn hir,

o liw llwyd, yn rhanedig ; ei arogl yn gryf, a'i flas yn hyfryd. Mae yn blodeuo ac yn hadu tua diwedd Awst.

Y gwreiddyn defnyddir ; mae yn boethach na phybyr, ac yn effeithiol iawn i iachau clefydau oerion y cylla a'r corph yn gyffredin : gweithia yn rymus i fyny ac i lawr. Mae yn well i beri chwys na'r rhan amlaf o'r gwreiddiau tramor a gedwir gan gyffyrwyr i'r perwyl hwnw. Ond ei ferwi neu ei fwydo mewn gwin, ceir trwyth gwerthfawr i wella y gewynwst oer, attal defnyniad yr ysgyfaint, i rwyddhau yr anadl, ond cymeryd ychydig o hono hwyr a bore. Cynorthwya i symud y graian, a thori y gareg, a gweithia yn nerthol trwy y dwfr.

Mae yn fuddiol iawn i wella y dyfrglwyf, cwlwm gwythi, y gloesion *(epilepsy)*; oblegyd, ond cymeryd y trwyth a nodwyd, a'i chwareu yn y genau dros ychydig, gwna dynu llawer o ddwfr a llysnafedd drwg o'r ymenydd, ac felly gwna ei buro a'i esmwytho. Mae tê yr hadau o'r un natur, ond ddim mor rymus.

Mae dwfr distylledig o'r gwreiddiau neu y llysieuyn, yn rhinweddol i lanhau a gwella hen glwyfau drewllyd, ond rhoi ychydig ddiferion ynddynt. Gwnelai les mawr hefyd i laesu poen y gymalwst. Yn îr, newydd ei godi o'r ddaear, mae y gwreiddyn oreu.

## Llysiau yr Eryr, Llysiau yr Eryri, Fandon.—*Woodroof.*

PLANHIGYN gwyllt cyffredin yn ein coedwigoedd yw hwn, tua deg modfedd ; ei gorsen yn betryal, main a gwan, ddim yn ddigon cryf i sefyll yn syth. Mae amrywiol o ddail ar bob cymal ; yn cylchynu y gorsen ar ddull seren, yn lled lydain, ond yn hir-gul, o liw gwyrdd tywyll. Mae ei ddail yn gryn debyg i ddail Llau y 'Ffeirad, ond eu bod yn fwy, er fod y planhigyn yn llai ; maent hwy yn llyfnion, ond mae y rhai hyny yn eirwon. Saif y blodau ar flaenau y cyrs yn fath o duswau bychain ; rhai gwynion bychain ydynt ; mae yr hadau yn grynion, yn sefyll bob yn ddau ; y gwreiddiau yn fychain, ac edafedd wrthynt.

Mae tê y llysieuyn hwn yn îr, yn nerthol iawn i agor llwybrau yr afu a'r ddueg, yn gysurlyn nodedig, ac yn werthfawr i iachau clefydau y cylla, a'r clefyd melyn.

## Llysiau y Fam.—*Mother-Wort.*

Mae hwn yn llysieuyn gwyllt uchel, lled olygus, yn tyfu yn fynych mewn gerddi, ac o gylch tyddynod; y gorsen yn betryal, trwchus, cref, a syth, tua thair troedfedd o hyd, yn ymranu i amrywiol o gangau, ar y rhai y tyfa dail ar bob tu ar gyrs hirion, dwy yn mhob cymal. Cynwysant dair rhan; y ganol yw y fwyaf; ac mae yn eu hymylau fylchau dyfnion; maent o liw gwyrdd tywyll, ac iddynt arogl anhyfryd. O tua chanol y cyrs i fyny hyd y blaen, tyfa blodau o liw coch gwan: safant mewn math o gwpanau pigog. Hadau duon bychain sydd iddo, o ba rai y mae cyflawnder mawr. Mae y gwreiddyn yn llwydaidd, ac wrtho lawer o edau yn gafaelu yn gadarn yn y ddaear, ac yn parhau drwy y Gauaf, fel y gwna eiddo yr *Horehound:* mae arogl hwn yn lled debyg i arogl hwnw.

Gellir defnyddio yr holl lysieuyn yn sych; ond blaenau y cyrs yn îr sydd oreu. Nid oes braidd ei well yn tyfu i symud trymder oddiar y galon, ac adferyd sirioldeb i'r meddwl. Gellir ei wneuthur yn gyffaith neu bereiddfwyd, ac felly ei gadw yn hir: dylai mamau ofalu am ei gadw o hyd eu cyrhaedd. Bernir ei fod yn dda rhyfeddol i symud yr achos o gryndod y galon, a llewygon. Mae llwyaid o'r powdr mewn gwin, yn rhinweddol iawn i gynorthwyo gwraig mewn gwewyr esgor; hyn, efallai, fu yr achos o'r enw Llysiau y Fam. Mae yn nerthol i gynhyrfu y dwfr, i symud llysnafedd glydiog o'r ddwyfron, a lladd llyngyr yn y bol. Gweithia yn nerthol i gynhesu a sychu llynoedd llygredig o'r ddwyfron, a'u symud o'r cymalau a'r gwythienau, &c., ac i wella y coluddwst r'r dirdyniadau.

## Llygad Eirian, Ceiros y Waen.—*Bogberries.*

Mae y llysieuyn hwn yn berthynas agos i'r Llysi Duon; ac y maent yn debyg iawn iddynt yn eu dull a'u rhinwedd, ond bod eu dail yn llai, a'r coed lawer yn fwy eiddil. Mae y goreu yn fain iawn, yn gorwedd ar y ddaear, a'r dail yn fân ac yn annhrefnus ar hyd-ddi, a'r ffrwythau yn dyfod allan o flaen y gorsen yn unig, ac nid gyda y dail, fel y gwna y Llysi Duon. Mae y grawn, hefyd, yn gochion. Maent yn tyfu ar rosydd uchel, lle byddo mawndir. Ceir digonedd o

honynt ar weunydd gwair mân wrth ladd y gwair. Gwneir teisenau hyfryd o honynt gyda thê, ac y mae y deisen hon o Lygaid *Oeron* (fel y gelwir hwynt yn gyffredin), ond eu gwneud yn gampus, yn mron digon o dâl gan y cymydogion am ladd y gwair. Nid yw hyn mor rhyfedd ychwaith, oblegyd y mae y ffrwythau yn dofi syched yn hyfryd yn ngwres y cynhauaf, am fod ei blas yn chwibl ac adfywiol. Mae rhagluniaeth ddoeth y nef yn gwasgaru daioni i bawb. Ffrwythau i breswylwyr y mynyddoedd yw y rhai'n, a gwnant ddanteithfwyd adfywiol o hono, y fath ag a hoffai pendefigesau tyneraf y trefi. Nid yn unig mae Ceiros y Waen yn dda fel ymborth, ond y maent yn dda hefyd fel meddyginiaeth. Maent o natur rwymol, ac felly yn dda rhag y dolur rhydd a'r gwaedlif, cyfogi a phoeri gwaed; os bydd gwythien wedi agor, gwnant lawer o ddaioni i'w hasio yn nghyd. Mae y coed o'r un natur a'r ffrwythau, a gellwch ei yfed fel tê.

## Llysiau'r Fam Gwylltion.—*Arrach Wild and Stinking.*

Mae y llysieuyn hwn i'w ganfod ar ben tomenydd, ac mewn gerddi, yn tyfu fel chwyn: mae ei gorsen yn eiddil, ac yn gorwedd ar y ddaear, a dail bychain ar hyd-ddi, yn agos yn grynion, yn llwydaidd eu lliw, heb ddim bylchau na thoriadau ynddynt. Mae eu blodau o liw gwynlas yn dyfod allan yn duswau gyda'r dail.

Fe ganmolir hwn i'r cymylau gan ysgrifenwyr, fel meddyginiaeth anffaeledig i'r rhyw fenywaidd, rhag pangau y famwst a'r dirdyniadau, a hyny dim ond eu harogli; y maent yn rheoleiddio y cylchrediadau misol, yn glanhau y graian, yn oeri ac yn llarieiddo y gwaew yn yr arenau, y bledren, a'r groth. Gellir yfed tê o honynt; y maent yn eithaf diniwed.

## Llysiau y Galon, Esgorlys.—*Heart-Wort, Birth-Wort.*

Tyfa y planhigyn hwn yn wyllt yn Itali, a deheudir Ffrainc; ond gyda ni yn ngerddi boneddwyr a'r cywrain y ceir ef. Nid oes fawr tlysni a hynodrwydd i'w canfod ynddo nes ei

chwilio. Mae y cyrs tua throedfedd a hanner o hyd, yn weinion, o liw gwyrdd tywyll; y dail yn fyrion a llydain, o'r un lliw â'r cyrs; y blodau yn hirion, cau, ac, yn eu dull, yn wahanol i flodau planhigion ereill yn gyffredin; maent yr un lliw a'r dail ar y tu allan, ac yn gochlas o fewn. Mae y ffrwyth yn dyner, tua maint Cnau Ffrengig; mae gwreiddyn crwn mawr iddo.

Y gwreiddyn yw yr unig ran a ddefnyddir yn feddyginiaeth, ac yr ydym yn gyffredin yn ei gael o wledydd tramor, lle y tyfa yn naturiol; cyffyr cryf ac anhyfryd ydyw, ond rhagorol i gynhyrfu y gwahanol garthiadau ar ol esgor.

Mae dau fath arall o Lysiau y Galon, gwreiddiau y rhai a gedwir mewn siopiau; meddant yr un rhinweddau â'r un a nodwyd, ond ddim i'r un graddau; a chan eu bod yn wanach, ni sylwir cymaint arnynt.

## Llysiau y Geiniog.—*Penny-Wort, Wall Penny Royal, Kidney Wort.*

Planhigyn hynod a gwerthfawr yw hwn, yn tyfu ar hen furiau; mae tua wyth modfedd o uchder, ac yn dusw o ddail yn tyfu o gylch y gorsen. Mae sudd y dail, ond ei yfed, yn effeithiol iawn i ddofi enyniadau a gwres annaturiol yn y cylla, yr afu, neu yr ymysgaroedd, i gynhyrfu y dwfr, symud y graian, ac esmwytho poen. Yn allanol, mae y llysieuyn wedi eu hysigo, neu y sudd, yn beth nodedig i wella pendduod, a chlwyf y marchogion; i esmwytho poen y gymalwst a'r glunwst, gostwng a gwella chwydd clefyd y brenin; attal y gwaed i redeg o glwyfau newyddion, a'u iachau yn fuan.

## Llysiau y Gwr Da, Olliach.—*All-heal.*

Llysieuyn a ellir weled yn lled gyffredin mewn tiroedd llaith, ag iddo ddail blewog, a blodau cochion bychain. Mae tua throedfedd a hanner o uchder, y gorsen yn wan, petryal, a blewog; saif y dail ddwy ar bob cymal; maent o liw gwyrdd gwan, a'u hymylau yn fylchog, ac mae iddynt arogl cryf; saif y blodau yn duswau o gylch y gorsen ar y cymalau. Maent yn debyg i flodau y Ddanadlen ddall, ond eu bod yn llai; mae y gwreiddyn yn parhau trwy y flwyddyn.

Mae hwn yn llysieuyn rhagorol iawn at archollion, ond ei ddefnyddio yn îr. Mae y dail i'w hysigo, a'u gosod ar y clwyf yn uniongyrchol wedi y torer ef; maent mor rhinweddol, fel, ddim ond eu hunain, yr attaliant y gwaed i redeg, ac yr iachant yr archoll.

## Llysiau y Dil.—*Dill.*

Mae hwn yn llysieuyn lled adnabyddus, gan y codir ef mewn gerddi, ac y defnyddir ef yn aml yn y gegin. Un gorsen sydd iddo yn gyffredin, a hono weithiau tua thair troedfedd o uchder: nid yw gwbl mor uchel â'r Ffenigl; mae mor debyg i Ffenigl, fel y cymerir ef yn ei le yn aml: mae ei arogl yn fwy anhyfryd nag eiddo Ffenigl. Ymrana y gorsen yn y blaen i amrywiol gangau. Mae iddo flodau melynion bychain, yn sefyll yn duswau ar flaen y cangau.

Mae yr hadau ond eu berwi a'u hyfed, yn rhinweddol iawn i ostwng chwydd, dofi poen, a llonyddu y cylla pan yn tueddu i gyfogi; dofi poen y coluddwst; mae yr hadau yn fwy effeithiol na'r dail i ddattod a symud ymaith lysnafedd, a gwasgaru gwynt.

## Llysiau y Gymalwst.—*Gout-Wort.*

Chwyn cyffredin yw hwn, a ymdaena mewn gerddi ac yn ymyl cloddiau; wedi iddo unwaith gymeryd gwraidd, nid hawdd yw cael ei le wedi hyny: mae tua dwy droedfedd o uchder. Mae y dail sydd yn codi oddiar y gwraidd yn lled fawrion; maent o liw gwyrdd goleu, blodau gwynion bychain. Defnyddir y gwreiddiau, y blagur yn îr, a'r dail, i wneuthur *fomentation*, a sugaethan i esmwytho poen y gymalwst.

## Llysiau y Llwg, Llysiau y Llwy.—*Scurvy Grass, Spoon-Wort.*

Llysieuyn gwerthfawr a welir yn lled aml yn ymyl y môr, ac a gedwir hefyd mewn gerddi o herwydd ei rinweddau. Oddiar y gwraidd cyfyd y dail fwyaf; maent o liw gwyrdd, a bylchau bychain yn eu hymylau. Nid oes ond ychydig o ddail ar y gorsen, ac nid yw y rhai hyny mor grynion â'r lleill. Saif y blodau yn duswau ar flaen y gorsen. Blodeuant

yn Ebrill a Mai, a hadant yn fuan wedi hyny. Mae sudd neu de y llysieuyn hwn yn feddyginiaeth nodedig rhag y llwg. Dylid cymeryd y naill neu y llall yn y Gwanwyn dros fis neu chwech wythnos y peth cyntaf yn y boreu. Ond gwneuthur felly, gwna symud llysnafedd glydiog o'r afu a'r ddueg. Ond troi y sudd yn y genau gwna iachau archollion ynddo; mae hefyd yn effeithiol iawn i symud crach oddiar y croen, ond ei osod arnynt.

## Llysiau yr Angel.—*Angelica.*

Llysieuyn tlws a gedwir mewn gerddi. Mae y dail yn lled fawrion, o liw gwyrdd goleu, a bylchau yn yr ymylau; mae arno duswau mawrion o flodau bychain. Mae arogl hyfryd iddo oll pan ysigir ef; mae oll i'w ddefnyddio yn feddyginiaeth, y gwraidd, y cyrs, dail, a'r hadau. Mae yn rhinweddol iawn i wella clefydau ymdaenol, i ddofi poen y coluddwst; iachau yr eisglwyf, ond ei gymeryd yn brydlon, a holl glefydau yr ysgyfaint a'r ddwyfron, megys peswch, diffyg anadl, &c. Da fyddai gwneuthur tê cryf o hono, a'i yfed ychydig cyn pang y cryd, i chwysu, os bydd modd cyn y delo; ond gwneuthur felly ddwy neu dair gwaith, tebygol y ceir llonydd gan y clefyd hwn: gwna les mawr i gryfhau y cylla i dreulio y bwyd. Yr hadau sydd fwyaf effeithiol. Nid yw yr un gwyllt mor nerthol â'r un dôf.

## Llysiau yr Archangel, Danadlen Ddall, Danadlen Fud.—*Archangel, Blind Nettle.*

Llysieuyn gwyllt yw hwn, yn tyfu yn ymyl cloddiau; mae tua throedfedd o hyd, y dail yn debyg i ddail Danadl, ond ddim yn llosgi. Mae y gorsen yn betryal, a'r dail yn flewog; mae y blodau yn fawrion a goleu. Y blodau ddefnyddir fynychaf; dylid eu casglu yn Mai, a'u gwneuthur yn gyffeithfwyd. Rhodder pwys o'r blodau a dau bwys a hanner o siwgr ynghyd i'w wneuthur. Gellir sychu y blodau.

Mae dau fath o'r llysieuyn hwn, yr un goleu a'r un melyngoch; maent yn gyffelyb yn eu rhinweddau. Mae y pereidd-fwyd a nodwyd, neu de y blodau, yn adfywiol iawn i'r cyfansoddiad. Ond ysigo y llysieuyn, a rhoi halen a finegr am ei ben, gellir gwneuthur plastyr rhagorol i ostwng

chwydd clefyd y brenin, a gwella yr afiechyd; esmwytho y gymalwst a'r glunwst, a sugno asglod esgyrn, &c., allan o'r cnawd. Bernir mai yr un melyn yw y goreu i lanhau a gwella hen glwyfau.

## Llysiau yr Hebog, Chwyn yr Hebog, Gwalch Lys.—*Hack-weed.*

Mae y llysieuyn hwn i'w gael mewn caeau ŷd, ac yn mysg tatws, yn gyffredin: mae iddo ddail gleision, hirion, yn llawn bylchau a thoriadau, yn debyg i Ddant y Llew; ac yn eu mysg y cyfyd gorsen feddal, gau, yn droedfedd neu ddwy o hyd, yn taenu yn fân ganghenau tua'r blaen, a'r cyffelyb ddail wrth bob cymal, a blodau melynion ar eu blaen; ar ol y syrthiont, mae hadau pluog yn dyfod ar eu hol: pan y toroch gangen neu ddalen, mae llaeth yn dyfod allan. Mae y llysieuyn hwn yn berthynas agos i Ddant y Llew, ac Ysgall y Moch, o natur oer a thyner, ac ar yr un pryd yn gryfhaol; ac felly yn dda hynod rhag pob math o fflamegau yn yr afu, yr ysgyfaint, a'r ymysgaroedd; yn oeri gwres yn y cylla, yn clirio ymaith lysnafedd a geri, yn awchu y cylla at fwyd, ac yn llaesu cnofeydd a gwaew. Mae yn chawl i rodfeydd y dwfr, yn glanhau y graian, ac yn iachau y dyfrglwyf; mae yn cyfnerthu y galon yn erbyn gwenwyn o bob math. Mae tê y llysieuyn hwn ac Isop yn feddyginiaeth enwog rhag cyfyngder yn y ddwyfron, diffyg anadl, a pheswch. Mae yn dda i ostwng chwydd yn y ddueg, i oeri gwres yn yr arenau a'r cefndedyn; ac weithiau yn esmwythau pangau y rhefrwst. Yn allanol mae yn feddyginiaeth rhag pob math o fflamegau yn y croen, megys y darddwden, y crach, a'r crafu, ynghyd â Thân Iddwf. Mae yn llysieuyn tyner a diniwed.

## Llysiau yr Hedydd, Troed yr Hedydd, Tafod yr Hedydd.—*Cummin.*

Planhigyn a godir mewn gwledydd Dwyreiniol yn gyffredin, er mwyn ei had: mae tua throedfedd a hanner o uchder; ei ddail yn fawrion, a thuswau o flodau gwynion bychain arno.

Yr hadau ddefnyddir: ceidw cyffyrwyr hwynt: nid yw eu blas yn hyfryd, ond maent yn rhinweddol iawn i wella y coluddwst, a symud gwynt o'r cylla; yn allanol, maent yn nerthol i symud poen o'r ochrau; i effeithio hyn rhaid iddynt gael eu dryllio, a chryn lawer o honynt gael eu gosod ar y lle dolurus.

## Llysiau Crist.—*Milk-Wort.*

PLANHIGYN bychan yw hwn yn tyfu ar rosydd, a thir porfa sych, ac iddo lawer o ddail, weithiau gleision ac weithiau gwynion, yn fath o duswau llaes. Mae y gwreiddyn yn hir, ac yn ymagor i amrywiol o ranau; mae y cyrs yn aml, a changhenog; maent yn feinion, yn ymledu ar hyd y llawr, ac yn ffurfio tusw gwyrdd. Mae yn amrywio llawer yn ei olwg yn ol y tir y byddo yn tyfu ynddo. Mewn tir tlawd nid yw y cyrs ond tair neu bedair modfedd o hyd; mae y dail yn lluosog, byrion, a hir-grwn; y blodau yn wynaidd, a llinellau gleision ynddynt. Pan dyfo mewn tir canolig, mae y dail yn hir-gul, y blaen yn fain, ac o liw gwyrdd prydferth; mae y cyrs tua chwech modfedd o hyd, ac mae y blodau yn gyffredin yn leision; fel hyn y ceir ef fynychaf. Pan byddo yn tyfu mewn tir gwir dda, megys yn ochr bryn, lle byddo ffynonau, dyfroedd, ac yn mysg glaswellt hirion, mae ei gyrs a'i ddail yn gryfach a sythach, a'i flodau yn gochion. Mae ei rinweddau yr un pa le bynag y byddo yn tyfu. Yn fynych, un gwreiddyn lled fawr sydd iddo; ond fynychaf mae mwy nag un, a'r rhai hyny yn wynion, ac o flas anhyfryd.

Yn îr mae y gwreiddyn oreu; nid yw yn ei lawn nerth ond yn y Gwanwyn, pan byddo y cyrs yn dechreu tori allan. Mae tê o hono yr amser hwnw yn werthfawr iawn i symud effeithiau peryglus rhwygiad nadredd. Bu o les annhraethol mewn gwahanol barthau o America lle mae y neidr gynffondrwst *(rattle-snake)* yn blino y trigolion. Mae hefyd yn effeithiol rhyfeddol i buro y gwaed pan byddo yn dew a glydiog. Mae mwydiad o'r llysieuyn hwn yn llesiol iawn i wella clefyd yr ysgyfaint, a pheswch o herwydd anwyd, gyda phoeriad o lysnafedd brwnt; rhag hyn yfed y claf yn nghylch chwarter peint o'r tê. Mae yn dda iawn hefyd i ysgafnhau yr eisglwyf. Os bwriedir sychu y gwreiddiau, dylid eu codi yn y Gwanwyn: gellir eu defnyddio yn bowdr.

## Llysiau y Cribau, Llysiau y Panwr.—*Teazle, Fuller's Thistle.*

Mae hwn yn llysieuyn lled adnabyddus, yn enwedig mewn cymydogaethau lle y gwneir brethynau, gan y defnyddir y penau gan banwyr; mae yn un cryn uchel, a cheir ef yn gyffredin yn ymyl ffyrdd a lleoedd llaith: mae arno benau mawrion cyffelyb i benau y Cyngaw, a blodau bychain cochion. Mae tua chwech troedfedd o uchder; y gorsen yn drwchus a chref iawn, o liw gwynaidd. Tyfa y dail ddwy gyda eu gilydd, gan gylchynu y gorsen yn y bôn; mae y dail yn bigog o danynt, ar hyd yr asenau. Mae y penau gymaint ag afal, ac yn eu dull, rywbeth yn hirgul, ac o liw glaswyn. Mae y gwreiddiau yn hir.

Y gwreiddyn ddefnyddir yn feddyginiaethol: mae tê o hono yn rhinweddol i gryfhau y cylla a chreu awch at fwyd; i symud rhwystrau o'r afu, a gwella y clefyd melyn. Bernir fod y dwfr a saif yn ngheudod y dail yn effeithiol rhyfeddol i symud brychni oddiar yr wyneb. Mae yr un a wrteithir at wasanaeth Panwyr a'r un cyffredin, yn debyg i'w gilydd mewn ymddangosiad a rhinweddau.

## Llysiau y Gwaedling, y Wilffrai, Milddail.—*Yarrow.*

Mae hwn yn drigianydd y maes gwyllt, ac yn tyfu ar hen gloddiau sychion, lle y byddo tir gweddol dda: mae ei ddail yn feinion hirion, yn llawn toriadau mân, yn debyg i ddail Camri; y gorsen yn gron, o gylch rhychwant o hyd, yn taenu yn fân ganghenau tua'r blaen, ac arnynt bwysi o flodau gwynion, ac weithiau â gwawr gochlyd arnynt, ac yn arogli yn gryf iawn. Mae yn llysieuyn hynod o dda rhag pob math o archollion mewnol, megys poeri gwaed, yn cael ei achosi gan glwyfau yn yr ysgyfaint, a phan y byddo gwythien wedi tori yn y rhanau mewnol. Mae yn dda hynod rhag y dolur rhydd, pe byddai wedi myned yn glefyd y gwaed. Hefyd, mae yn feddyginiaeth werthfawr rhag clwyf y marchogion: gwn am rai gafodd iachad hollol o'r dolur poenus hwn, pan yn methu codi o'u gwelyau, a hyny wrth yfed ei drwyth yn unig. Yr wyf yn cofio am rai yn

Sir Frycheiniog yn tori y llysieuyn hwn pan yn ei nerth, ei sychu, a'i gadw yn y tai, i'r dyben o wneuthur tê cryf o hono pan y byddent yn cael eu blino gan y coluddwst; ac yr oeddynt yn cael esmwythder pan y byddai cyffyriau enwog ereill wedi methu. Mae cnoi y dail pan y byddont yn iraidd, yn esmwythau y ddanodd. Hefyd, y mae yn adgyfnerthu yr ystymog pan y byddo wedi llacâu neu wanychu oblegyd gwynt a llysnafedd; cryfha'r cefn a'r arenau, ettyl un math o rediadau ag a fyddo yn gwanychu y cyfansoddiad, yn y ddau ryw; ac os bydd gwendid yn nghewynau y bledren, fel nas gall ddal y dwfr, gwna tê y llysieuyn hwn lawer o les. Yn allanol, mae ei drwyth yn dda i olchi y pen ag ef pan byddo y gwallt yn syrthio. Torwch ef pan yn ei flodau; sychwch ef, dodwch hanner dyrnaid o hono mewn *teapot*, a llenwch ef â dwfr berwedig; yfwch lonaid cwpan tê o hono dair gwaith y dydd: mae yn llysieuyn cryf a rhinweddol iawn.

## Llysiau y Llau, Llysiau y Poer.—*Lice-Bane, Louse-Wort.*

Llysieuyn tlws yw hwn, a dyfa yn naturiol yn yr Eidal, ac a godir yn fynych mewn gerddi yn y wlad hon; mae tua dwy droedfedd a hanner o uchder; y gorsen yn gron, trwchus, cref, syth, a blewog. Mae y dail yn lled grynion, ond yn cael eu bylchu yn ddwfn i saith o ranau, ac mae bylchau yn ymylau y rhai hyny: maent yn fawrion, ac o liw gwyrdd dwfn, yn sefyll ar gyrs hirion. Mae y blodau yn fawrion, ac o liw glas dwfn; tyfant yn duswau ar flaenau y cyrs; mae yr hadau yn eirwon.

Yr hadau ddefnyddir: os defnyddir eu tê yn fewnol, dylid bod yn ochelgar rhag ei wneuthur yn rhy gryf; cymera rhai ef i wella y gewynwst, a phuro y gwaed. Gweithia yn nerthol i beri cyfogi ac ystôl, a gwna symud llawer o ddwfr o'r genau. Defnyddir powdr yr hadau i ladd llau yn mhenau plant a fyddo wedi eu hesgeuluso, trwy ei daenellu ar hyd y pen.

## Llysiau y Milwr.—*Loostrife, Willow Herb.*

Ceir y planhigyn hwn yn lled gyffredin mewn tiroedd

gwlybion ac yn ymyl dyfroedd ; pe ystyrid ei dlysni a'i werth, bernid y teilynga le yn ein gerddi. Pe byddai yn cael ei ddwyn o wlad bell, meddylid ei fod yn un o'r planhigion tlysaf yn yr holl fyd. Mae tua phedair neu bum troedfedd o uchder ; y cyrs yn gryfion, gwlanog, syth, a rheolaidd yn eu tyfiant. Mae y dail tua hyd bys dyn, a'u canol yn lletach na'r bôn na'r blaen : maent yn wlanog neu flewog, ac o liw melyn-wyrdd, rywbeth yn debyg i ddail y pren Helyg: y blodau yn fawrion, ac o liw melyn prydferth, yn bum dalen bob un, ac amrywiol o linynau melynion yn eu canol: tyfant gyda'u gilydd yn mlaenau y cangau. Ar eu hol daw penau crynion bychain, yn cynwys hadau. Ymlusga y gwreiddiau ar led dan y ddaear, ac a darddant i fyny bob Gwanwyn. Nid oes unrhyw arogl ganddo, ac ond ychydig o flas. Mae yn blodeuo o Mehefin i Awst.

Mae powdr y gwreiddyn wedi sychu yn gyffyr rhagorol i wella y gwynion *(whites)*, a llaesder yn yr ymysgaroedd ; ac mae y sudd yn effeithiol iawn i attal y gwaed i redeg o'r genau, y trwyn, neu glwyfau, a gwella clefyd y gwaed, ond ei gymeryd mewn diod, neu fel chwistrell feddyginiaeth *(clyster)*. Mae sudd y llysieuyn wedi ei ddryllio, yn rhinweddol iawn i wella clwyfau gwlybion, i'w puro a'u cau. Defnyddir ef yn fynych i wella archollion yn y genau, trwy ei droi yn y safn : mae yn beth rhagorol o dda at archollion ar unrhyw ran o'r corph. Gwna y dail ieuainc, ond eu rhoi wrth archoll newydd, attal y gwaed, a'i gwella mewn amser byr. Ond llosgi darn o'r llysieuyn gwna ei fwg yru ymaith glêr a gwybed, y rhai yn yr hwyr yn enwedig a flinant bobl mewn tiroedd corsog.

## Llysiau y Neidr, Eirin y Ci.—*Dog's Stones, Rag Wort, Bistort or Snake Weed.*

PLANHIGYN gwyllt tlws yw hwn : mae yn tyfu mewn gweirgloddiau : mewn coedwigoedd llaith a chysgodol ; a chodir ef hefyd mewn gerddi, ac ymddengys, pan yn ei flodau yn Mai a Mehefin, yn amlwg a phrydferth iawn. Mae tua throedfedd a hanner neu ddwy droedfedd o uchder ; ei ddail yn llydain a thlysion, a blodau cochion disglaer yn tyfu yn duswau trwchus ar flaenau y cyrs. Cyfyd dail yn uniongyrch oddiar y gwraidd, a safant ar goesau lled hirion;

maent o liw gwyrdd hyfryd y tu uchaf, rywbeth yn llwydach odditanynt. Mae y cyrs yn grynion, yn gryfion a syth, o liw gwyrdd, ac mae arnynt ddwy neu dair o ddail tebyg i'r lleill, ond eu bod yn llai, ychydig o bellder oddiwrth eu gilydd. Mae y blodau yn dywysenau breisgion tua maint bys dyn. Gwreiddyn cam sydd iddo, tywyll oddiallan, a choch o fewn.

Pe gwnelem ystyried a defnyddio ein llysiau ein hunain, byddai arnom lai o angen cyffyriau o wledydd tramor. Mae gwreiddyn y llysieuyn hwn yn un o'r moddion goreu yn yr holl fyd i rwymo y bol: ni weithia mewn modd ffyrnig, ond er hyny yn sicr. Yr amser goreu i gasglu y gwreiddiau yw mis Mawrth; crogwch amrywiol o honynt gyda'u gilydd, a rhoddwch hwynt i sychu yn y cysgod, neu dan y lloft. Gwna tê neu bowdr o honynt, mewn modd nerthol iawn symud effeithiau dinystriol gwenwyn; mae ychydig o'r powdr yn llesiol rhyfeddol i rai yn y frech wen, y frech goch, hyd y nod yr un waethaf, neu unrhyw glefyd heintus arall, trwy weithio yr afiechyd allan o'r corph trwy chwys. Ond berwi ychydig o bowdr y gwraidd mewn gwin, a'i yfed, gwna attal unrhyw waediad mewnol, a chymedrioli rhediad llynoedd y corph. Gan ei fod yn gwasgaru gwaed drwg glydiog a fyddo wedi casglu o fewn, o herwydd cwympiadau a briwiau, dylai pobl y gweithfeydd ei gadw yn wastadol yn eu hymyl: mae hefyd yn beth rhagorol iawn at y clefyd melyn.

Mae dwfr distylledig o'r gwreiddiau neu y dail, yn dda rhagorol i olchi y cnawd wedi ei gnoi neu ei rwygo gan greadur gwenwynllyd, a chlwyfau gwlybion drewllyd. Buddiol iawn i rai yn methu cadw eu dwfr, fyddai gwneuthur tê o'r gwreiddiau, a'i yfed yn aml. Mae y dail, yr hadau, a'r gwreiddiau yn dda rhagorol i wneuthur tê i iachau archollion mewnol; ac ond taenellu ychydig o bowdr y gwreiddiau ar archoll mewn gwythien, gwna hyny attal rhediad y gwaed yn fuan. Mae y dwfr distylledig a nodwyd uchod, yn werthfawr iawn i olchi hen archollion pwdr ac ysol yn y trwyn, neu ryw ran arall o'r corph, a buddiol fyddai taenellu powdr y gwreiddiau wedi hyny ar y lle dolurus. Mae trwyth y dail a'r hadau yn rhinweddol i galedu cig y dannedd a symud gwres a phoethder anghymedrol o'r ên neu y gêg: mae hwn yn blanhigyn gwerthfawr neillduol.

## Llysiau yr Oen, Tafod yr Oen.—*Lamb's Tongue.*

Mae y llysieuyn hwn yn drigianydd yr ardd ; wedi y planer ef unwaith, nid hawdd y ceir ei wared. Mae yn tarddu yn gynar yn y Gwanwyn, ac y mae hen wragedd yn ei dori yn llysiau cawl : mae ei ddail yn debyg i ddail Tafol, ond eu bod yn llai o faint. Mae yn llysieuyn iachus iawn ; yn agor rhwystrau yn yr holl ranau mewnol, yn cynhyrfu y dwfr i redeg, ac yn dda hynod rhag poen yn y cefn a'r lwynau, yn cael ei achosi gan y graian a'r gareg; yn rhyddhau llysnafedd tew, gwydn o'r cylla a'r ymysgaroedd, ac yn ei garthu o'r corph ; yr un modd fe weithia ymaith bob math o geri afiach, a fyddo yn glynu mewn unrhyw ran o gamlas y maeth : mae yn awchu y cylla, yn agor rhwystrau yn yr afu a'r ddueg, ac yn ymlid pob hylif drwg o'r pen ; yn iachau y poenau mwyaf cyndyn ynddo, trwy attal a sychu pob hylif drwg sydd yn dyrchafu i fyny, ac yn achosi yr anhwylderau. Mae yn tueddu yn fawr i gryfhau ac adferu holl natur pan yn mron treulio allan gan gystudd neu lafur. Nis gellir cael llawer o lysiau sydd yn well nag ef, nac ychwaith yn fwy diniwed.

## Llysiau y Perfigydd, Dail y Fendigaid, Dail y Twrch.—*Tutsan*, *Tuftan*, *or Park Leaves.*

Llysieuyn tlws a rhinweddol iawn yw hwn. Mae yn tyfu yn ein coedwigoedd, ac yn ymyl cloddiau mewn llawer o fanau ; ond mewn gerddi y gwelir ef fynychaf. Mae ei gyrs weithiau yn dair troedfedd o uchder, ac yn tori allan yn ganghenau, ac ynddynt amrywiol o gymalau, ac ar bob cymal saif dwy ddalen fawr, o liw gwyrdd tywyll ar y tu uchaf, ac yn felyn-wyrdd odditanynt, ac yn troi yn gochaidd tua'r Hydref, ac yn arogli yn hyfryd ; o ba herwydd y mae llawer o ddynion yn eu tori, ac yn eu rhoddi mewn llyfrau, i beri iddynt arogli yn hyfryd. Ar flaen y cyrs saif blodau melynion cryn fawrion, a phenau yn cynwys hadau, y rhai ydynt o liw gwyrdd ar y cyntaf, ac yna yn troi yn gochlyd, ac yn myned ychydig yn dduach cyn yr addfedant. Mae sudd yr hadau rywbeth yn ystoraidd *(resinous)*, o flas lled sur : ac mae blas y dail a'r blodau yn gyffelyb. Mae y gwreiddiau yn llwydion, yn fawrion, celyd, a choediog ; ac

yn ymledu o amgylch. Math o rawn yw y ffrwythau, duon pan yn addfed, ac yn cynwys llawer o hadau bychain. Ymddengys yr holl blanhigyn yn yr Hydref yn gochlyd fel gwaed: mae ei olwg yn hynod a phrydferth iawn.

Mae y dail yn rhyfeddol o dda i wella clwyfau newyddion; nid oes braidd ddim yn gyffelyb iddynt. Y rhai ieuainc tyner ar flaen y cyrs yw y rhai goreu: maent i'w rhwymo wrth yr archoll. Attaliant y gwaed i redeg, ac effeithiant welliant buan. Mae llawer o blanhigion yn rhinweddol at hyn, ond y mae hwn yn nodedig, ond ei ddryllio yn îr a gwneuthur plastyr o hono, neu ei bowdr pan wedi sychu. Ystyrid y llysieuyn hwn gynt yn un o'r llysiau goreu i wella clwyfau mewnol neu allanol, ac felly defnyddid ef yn wastadol i wneuthur diodydd meddyginiaethol, ac enaint at archollion. Mae yn oer ac yn sych, ac felly yn dattod, chwalu, ac arllwys geri o'r cylla a'r coluddion: mae yn feddyginiaeth enwog rhag y clefyd drwg: gweithia y gwenwyn o'r gwaed, a iacha y clwyfau. Mae hefyd yn dda i'r gymalwst a'r glunwst; ac ond ei roddi gyda llysiau ereill o'r un natur, i wneuthur eli at iachau clwyfau o bob math, a llosgiadau gan dân a dwfr.

## Madwysg.—*Columbine.*

Blodeuyn yw hwn a godir yn ngerddi y wlad hon. Gan ei fod yn lled adnabyddus ni raid ei ddarlunio. Mae yn llysieuyn lled beryglus: bu yn cael ei ddefnyddio yn feddyginiaethol—ond gwell i'r anghyfarwydd beidio ymyraeth ag ef.

## Maenhad Meddygawl.—*Common Gromwell.*

Llysieuyn gwyllt, heb fawr prydferthwch ynddo, ond i'r hwn y mae hadau dysglaer gwerthfawr. Tyfa y llysieuyn hwn i tua llathen o uchder. Mae y cyrs yn grynion, trwchus, cedyrn, sythion, a changhenog; y dail yn hir-gul, geirwon a blewog, o liw gwyrdd tywyll; blodau bychain gwynion. Wedi i'r blodau syrthio, ymddengys yr hadau megys ceryg bychain dysglaer. Yr hadau yn unig a ddefnyddir. Maent yn gweithio yn nerthol trwy y dwfr, ac felly yn llesiol iawn i wella y graian, a symud pob rhwystrau: yn bowdr maent oreu, gyda chryn lawer o *Barley Water.*

## Mafon.—*Raspberry.*

Mwy addas yw galw hwn yn bren na llysieuyn; oblegyd mae ei gorsen yn goedaidd, ac yn dal y rhew am flynyddau heb wywo. Mae i'w gael ar ochrau hen gloddiau, yn gyffredin, yn mhob man. Mae ei baladr yn grwn, yn llawn pigau; ei flodau yn wynion, a'i ffrwythau yn gochion, pan yn addfed. Nid yw yr holl blanhigyn ond o ddwy i dair troedfedd o hyd. Os nad ydych yn ei adnabod wrth hyn, gofynwch i'r plant bach, a hwy a'ch dysgant. Ffrwyth y planhigyn, yn benaf, sydd yn feddyginiaethol, pa un sydd yn iachus i'r cylla yn gystal a bod yn hyfryd i'r archwaeth. Mae yn awchu y cyll at fwyd, ac yn ei nerthu i'w falurio; yn sirioli y galon, ac yn dofi syched. Hefyd, y mae yn dda hynod i'w fwyta ar dywydd brwd, i oeri y gwaed a lleihau curiadau y galon. Os mynwch, gellwch wneud gwin meddyginiaethol hyfryd o'r Mafon, yr hwn a geidw am flynyddau, trwy wasgu y sudd o honynt, a chymysgu tri chwarter pwys o siwgr am ben chwart o'r sudd, a'i roi mewn lle oer, i aros a gloywi; a phan byddo wedi gloywi, yn berffaith, rhoi y gloywon hyn mewn costrelau, a'u *corcio* yn dda, a'u rhoi i gadw mewn lle oer. Mae yr holl blanhigyn yn ddiniwed.

## Marchalan, Clafrllys Mawr, Llwyglas.—*Elecampane.*

Mae y llysiau hyn yn drigianyddion y maes, yn hoffi daear fras, yn ymyl cloddiau a chwterydd, fynychaf mewn tir cysgodol, ond cedwir hwynt mewn gerddi oblegyd eu defnyddioldeb. Dail mawrion, blaenfeinion; wrth gydio ynddynt maent i'w teimlo yn feddal a blewog; yn llwyd-wyn eu lliw, yn enwedig odditanynt: mae y gorsen yn gref, ac yn flewog, fel y dail, yn droedfedd neu chwaneg o hyd, fel y bo y tir y byddont yn tyfu; yn taenu yn fân ganghenau, yn ddu oddifaes, ac yn wyn oddifewn, ei archwaeth yn chwerw, a'i arogl yn beraidd. Gwraidd y llysieuyn hwn yn benaf a ddefnyddir fel meddyginiaeth. Mae o ran ei ansawdd yn boeth, ac yn feddyginiaeth anmhrisiadwy yn holl anhwylderau y cylla a'r ddwyfron, pan y byddo gwynt yn llenwi y cylla ar ol bwyta, bytheiriadu, dylifo gên, a selni; brathiadau yn yr ochrau; a phoen arosol yn

yr ochr aswy, dan yr aseneu byrion, o herwydd bod y ddueg yn chwyddo. Yr un modd y mae yn dda hynod rhag cyfyngder yn y ddwyfron, diffyg anadl, peswch, a gwichian yn y pibau gwynt. Mae yn feddyginiaeth werthfawr rhag poen y cefn, y lwynau, a'r arffed, pan y byddo yn cael ei achosi gan y gareg a'r graian: glanha holl lestri y dwfr, y cefndedyn, yr arenau, a'r chwysigen; a iacha yr archollion a fyddo ynddynt, wedi cael eu briwio gan y gareg; yr un modd hefyd iacha bangau y famwst, ynghyd â holl anhwylderau y rhyw fenywaidd. Hefyd, mae yn lladd gwenwyn o bob math; os bydd dyn wedi cael ei frathu gan neidr neu ryw greadur gwenwynig arall, byddai y llysieuyn hwn yn dda, gyda llysiau ereill, i wneyd meddyg-lyn i'r claf, i gadw y gwenwyn o'r galon; yr un modd byddai yn dda hynod rhag pob math o glefydau cydiadol, megys y dwymyn boeth, y frech wen, y *cholera morbus*, neu y pla. Mae yn puro pob math o hylifau drwg o'r pen, yn cryfhau y llygaid, a chlirio yr olwg. Mae yn lladd llyngyr o bob math ac yn mhob mân yn nghorph dyn, ac yn ysgaru y llysnafedd sydd yn eu magu.

Mae y llysieuyn hwn yn feddyginiaeth rymus i'r gorchfanau a'r dannedd, yn iachau y llŵg, ac yn sierhau y dannedd pan yn rhyddion. Nid oes eisiau er meddyginiaethu y *gums* a'r dannedd, ond gwneyd trwyth cryf o'r gwraidd, a golchi y genau yn dda yn y boreu ag ef, ac eilwaith yn y prydnawn; ond os dygwydd i ddarlwnc fyned i lawr i r gwddf, peidiwch a gofidio dim, fe wna i chwi ddaioni yno. Mae yn gwella y cwlwm gwythi, yn y rhanau allanol neu fewnol; a'r dirdyniadau o bob math. Esmwytha y gymalwst, y glunwst, a holl boenau y cymalau. Hefyd, os bydd gwythien wedi agor yn yr ysgyfaint, a'r dyoddefydd yn poeri gwaed, gwna y gwraidd hwn yn nghyd â gwraidd Comffrei, ei feddyginiaethu: gwna ddaioni i unrhyw archollion mewnol, mewn rhyw ran arall o'r corph; yr un wedd, fe iacha holl anhwylderau y croen; megys y darddwden, yr eryrod, y crafu, a'r crach yn mhenau plant; gwna yr eli hwn iachau pob math o hen glwyfau drewedig, a'r *cancer* ei hun. Nid oes llawer iachach llysieuyn na hwn yn tyfu. Nid wyf yn gwybod am un amgylchiad ar ddyn ag y gall wneyd drwg iddo; ond gall wneuthur daioni mewn *ugeiniau* os nad cannoedd o amgylch-

iadau. Gellwch fod mor eofn ag y mynoch arno; ond cofiwch mai y gwraidd yn unig sydd rinweddol, a bod hwn i'w dynu yn ddiweddar yn yr Hydref, neu yn gynar yn y Gwanwyn, a'i gadw yn sych at eich gwasanacth.

Yr un modd mae hwn yn hynod o dda i anifeiliaid, yn fewnol ac yn allanol; os bydd peswch ar anifail wedi cael anwyd trwm, ac arwydd ysgyfiniad arno, nid oes dim yn well na thrwyth cryf o'r llysieuyn hwn. Os bydd y ceffyl a'i wynt yn ddrwg, a chyfyngder a gwichian yn ei wddf, gwna fawr ddaioni iddo. Pan y byddo llwgr ar gefn ceffyl, nid oes llawer o bethau yn well na phlastyr o'r gwraidd hwn. Dylai pob dyn, yn enwedig pob perchen anifeiliaid, gadw cyflawnder o hono yn ei ardd.

## Marchredyn y Derw.—*Fern of Tree, Polypody.*

PLANHIGYN bychan o rywogaeth y Rhedyn: mae o hanner troedfedd i droedfedd o hyd; nid yw ond un ddalen. Cyfyd amrywiol o'r rhai hyn, yn gyffredin, oddiar yr un gwreiddyn; ond mae pob un yn blanhigyn gwahanol ar ei ben ei hun. Mae y gorsen yn noeth dros tua phum modfedd; oddiyno i'r blaen saif ar bob tu res o fath o ddail bychain hir-gul, ac un anghynifer ar y blaen. Mae y planhigyn oll o liw gwyrdd goleu; ond mae cefnau y dail bychain, tua'r Hydref, yn cael eu haddurno â rhifedi mawr o fanau llwydion, y rhai ynt yr hadau: y fath yw hadau pob math o Redyn. Mae y gwreiddyn yn hir, main, yn ymlusgo trwy y mwswn ar hen fonau coed. Defnyddir y gwreiddyn; yn ir y mae oreu: mae yn garthiedydd diogel ac esmwyth ar unrhyw achlysur. Gwneler tê o hono, ac efe a weithia yn wastad trwy gynhyrfu y dwfr. Mae yn dda at iachau y clefyd melyn a'r dyfrglwyf; ac mae yn blanhigyn gwerthfawr i'w ddefnyddio i wneuthur diod i wella y llwg: gan ei fod yn wastadol yn wyrdd, gellir ei gasglu at wasanaeth unrhyw dymor o'r flwyddyn. Dywedir yn fynych mai yr un sydd yn tyfu ar hen fonau derw yw y goreu; ond mae i'r rhai sydd yn tyfu ar fonau coed ereill yr un rhinwedd, a meddylir, mewn gwirionedd, mai yr un sydd yn tyfu ar y ddaear, ac ddim ar fon unrhyw bren, yw y goreu oll.

Mae yn rhinweddol i dyneru y ddueg pan wedi caledu, i

esmwytho poen yn yr ochrau a'r coluddwst; i sychu a symud ymaith lynoedd geriaidd, ac felly yn llesiol iawn i rai yn cael eu blino gan y wrach. Mae dram neu ddwy o bowdr y gwraidd, ond ei gymeryd mewn dwfr wedi ei felusu â mêl, yn gweithio yn araf i ateb yr un dybenion: gwna les mawr hefyd i rwyddhau yr anadl, a gwella gwichian yn y gwddf, a phuro yr ysgyfaint. Mae y gwreiddiau îrion, wedi eu dryllio yn fân, neu bowdr y gwreiddiau wedi eu sychu, a'i gymysgu â mêl, a'i wneuthur yn blastyr, yn beth rhagorol iawn i'w roi wrth aelod fyddo wedi symud o'i lle; ac, ond ei osod wrth y trwyn, gwna wella y clefyd a elwir y Polypus, sef darn o gnawd yn tyfu ynddo, yr hwn, mewn amser, a attalia yr anadl trwy y ffroenau.

## Marchysgall y Gerddi, Marchysgall Dof.—*Artichokes.*

Bernir fod gwreiddiau y planhigyn hwn, nid yn unig yn llesiol yn ymborth, ond hefyd yn feddyginiaeth ragorol. Mae y planhigyn ei hun o rywogaeth yr Ysgall. Mae y dail yn fawrion, ac yn ymranu i amrywiol ranau; ac maent yn bigog yn gyffredin. Mae y gorsen yn gref a rhychiog, a phen crwn arni; mae y blodau a'r hadau yn gyffelyb i eiddo Ysgall. Ond gan eu bod mor gyffredin ni raid manylu wrth eu desgrifio.

Ond casglu y gwreiddiau, eu cymeryd yn îr, eu tori yn dafellau, a'u berwi mewn dwfr, chwech wns gyferbyn a chwart o ddwfr, ceir trwyth nodedig; yr hwn, ond yfed ychydig o hono, a weithia yn nerthol trwy y dwfr; dywedir ei fod hefyd wedi gwella y clefyd melyn.

## Meddlys, Erwant, Chwys Arthur.—*Meadow Sweet.*

Planhigyn gwyllt yw hwn, yn tyfu yn ymyl afonydd: mae iddo ddail rhanedig, a thywysenau prydferth o flodau gwynion. Mae tua phedair troedfedd o uchder; ei gyrs yn grynion, rhychiog, cedyrn, a sythion. o liw gwyrdd goleu, rhudd-goch, weithiau. Gwneir y dail i fyny o dri phâr o rai llai, a dalen unigol yn y blaen. Maent yn wyrddion o'r tu allan, ac yn llwydion odditanynt, a geirwon i'r teimlad. Blodau gwynion bychain sydd iddo, yn sefyll mor agos i'w gilydd fel yr ymddengys yr holl swp fel un blodeuyn mawr.


Cup Moss


Wd Saxifrage


Yellow Loosestrife


St Johns Wort


Pimpernel


Vervain Mallow


Rest Arrow

Dywedir fod trwyth o wreiddiau y llysieuyn hwn yn rhinweddol iawn i esmwytho twymynon, ond rhoddi ychydig o win gwyn ynddo, a'i gymeryd yn ddognau o un neu ddau lonaid llwy bwrdd. Mae trwyth o'r blodau yn rhagorol i wella clefydau y croen; gellid yfed y tê hwn fel diod gyffredin. Pe gwnelai pobl a flinir gan y manwynion neu glefyd y brenin, olchi eu cyrph yn fynych, a'u rhwbio yn dda nes y cynhesont, yfed yn helaeth o'r trwyth a nodwyd, yn ystod y dydd, a bod yn gymedrol mewn bwyta ac yfed, gallent fod yn hyderus y caent wellhad graddol a llwyr, oddieithr fod y clefyd yn hen a chyndyn iawn.

## Meddygyn, Crinllys, Llysiau y Drindod, Feddyges, Craith Unnos.—*Violet.*

Mae yr un gwyllt a dôf yn lled adnabyddus. Planhigyn bychan isel ydyw, yn ymlusgo ar hyd y llawr mewn coedydd a pherthi; y gorsen yn gron a gwerdd; nid yw yn codi fawr i fyny, ond yn ymlusgo ar hyd y ddaear, gan gymeryd gwraidd o bob cymal. Cyfyd dail ar hyd y gorsen o'r gwahanol gymalau: mae y dail yn lled fawrion, yn sefyll ar gyrs bychain: o ran eu ffurf, maent yn debyg i galon, yr ymylau yn fylchog, o liw gwyrdd tywyll. Mae y blodau yn fychain, yn sefyll ar gyrs bychain, y rhai a godant yn mysg y dail, ac ynt yn cael eu gorchuddio braidd ganddynt. Blodeuant hyd Gorphenaf; ond yn mis Mawrth maent oreu.

Y blodau a ddefnyddir yn benaf: rhodder dwfr berwedig arnynt ddigon i'w cuddio, a gadawer ef i sefyll dros nos; dranoeth hidler ef yn ofalus, rhodder siwgr ynddo, dau bwys gyferbyn â phob peint, rhodder y cwbl i ledferwi uwch tân, a cheir cyffaith *(syrup)* gwerthfawr, yr hwn a weithia fel carthiedydd esmwyth a diberygl i blant.

Mae gwahanol fathau o'r planhigyn hwn, yn rhinweddol i oeri unrhyw boethder yn y corph yn fewnol neu yn allanol, megys poethder yn y llygaid, &c., cornwydon a chwydd gwresog. Gellir gwneuthur tê o'r dail a'r blodau a'i yfed; neu wneuthur plastyr o honynt, a'i roi wrth y lle dolurus. Mae ychydig o bowdr y blodau neu y dail, yn rhinweddol neillduol i garthu ymaith lynoedd geñaidd a dofi gwres. Mae tê neu bowdr y blodau neu y dail yn llesiol i iachau yr

eisglwyf *(pleurisy)*, a holl glefydau yr afu a'r ysgyfaint, crygni, y clefyd melyn, y wrach, neu gryd poeth; i esmwytho poen yn y cefn, i symud graian o'r arenau a'r bledren. Mae y dail pan yn leision, yn werthfawr i'w rhoi gyda dail priodol ereill i wneuthur plastyr i ostwng fflamegau, a chwydd poeth ar wahanol ranau y corph.

## Mefus.—*Strawberries.*

MAE y ffrwythau hyfryd hyn i'w cael mor gyffredin mewn gerddi, &c., fel nad oes achos eu desgrifio. Bernir bod y ffrwythau hyn cyn yr addfedont yn oer a sych, ond wedi hyny yn oer a llaith. Maent yn rhinweddol neillduol i oeri yr afu, y gwaed, y ddueg, a'r cylla, ac i godi yr ysbrydoedd; ond ni ddylid bwyta llawer o honynt ar y tro, gan eu bod yn braenu yn fuan yn y cylla.

Mae tê y dail yn llesiol i olchi genau a gwddf dolurus; i oeri yr arenau a'r bledren, a chynhyrfu y dwfr. Mae sudd y grawn yn effeithiol neillduol i gymedroli curiad y galon, a gwella y clefyd melyn; glanhau a gwella hen archollion drewllyd. Da fyddai defnyddio trwyth y planhigyn at glwyfau i'r un perwyl, ac i oeri gwres yn y llygaid, a gwella crach ar hyd yr wyneb a'r dwylaw.

## Meillionen y Ceirw, Mel y Ceirw.—*Melilot.*

LLYSIEUYN gwyllt cyffredin yw hwn, ag iddo dair dalen werdd ar bob cymal, a thywysenau o flodau melynion yn wasgaredig ar hyd-ddo. Mae tua throedfedd a hanner o uchder; y gorsen yn wan, gwerdd, a rhychiog; y dail yn hir-gul, a'u hymylau yn fylchog. Blodau melynion bychain sydd iddo, y rhai a ganlynir gan godenau bychain: mae ei ddail yn fwyd i lawer o drychfilod. Gwna y planhigyn hwn yn fr sugaethan gwerthfawr i'w osod wrth chwydd. Gwneir sug-drwyth rhagorol o'r blodau, ond rhoddi ychydig o ddiferynau o *Camphorated Spirit* ynddo, i olchi llygaid dolurus.

## Meiwyn.—*Thorn Apple.*

PERTHYNA y llysieuyn hwn i hinsawdd cynhesach nag eiddo

ein gwlad ni ; ond codir ef yn aml mewn gerddi yn y wlad hon. Mae yn nghylch tair troedfedd o uchder ; y cyrs yn grynion, tewion, ac yn ymranu yn ganghenau. Mae y dail yn fawrion iawn, hir-grwn, llydain, ac o liw gwyrdd dysglaer, yn rhanedig yn eu hymylau. Mae y dail yn brydferth neillduol, ond mae eu harogl yn anhyfryd iawn. Mae y ffrwythau gymaint a chnau Ffrengig. Dywedir fod iddo ei rinweddau meddygol ; nid yw yn ddiberygl i'r anghyfarwydd ei ddefnyddio.

## Melyn yr Eithin, Tresgl y Moch.—*Tormentil or Set Foil.*

PLANHIGYN gwyllt cyffredin, tlws, a rhinweddol iawn yw hwn. Mae y cyrs yn llwydion, tuag wyth modfedd o uchder, ond yn rhy weinion i sefyll yn syth. Mae tua saith o ddail yn sefyll gyda'u gilydd ar bob cymal ; maent yn gulion, hirion, a blaenfain, eu hymylau yn fylchog, o liw gwyrdd tywyll. Mae y blodau yn fychain, o liw melyn dysglaer a phrydferth rhyfeddol. Tyfant ar gyrs meinion ; maent yn eu ffurf yn debyg i flodau Llun Troed y Fran, ond eu bod yn dlysach, a llai o lawer. Mae y gwreiddiau yn fawrion, tewion, a cheimion ; yn llwyd oddiallan, cochlyd o fewn, ac o flas surllyd.

Y gwreiddiau ddefnyddir, ac yn sych y maent oreu ; gellir gwneuthur tê o honynt, neu eu cymeryd yn bowdr. Mae y powdr yn rhinweddol neillduol i attal rhediad y gwaed yn nghlwyf y marchogion, ac mewn ystolau. Ond rhoi dwy wns o'r gwreiddiau mewn chwart o drwyth Banadl, gwna chwanegu llawer at ei rinwedd ; mae tê y gwreiddyn yn gysurol a rhwymol, a gweithia ychydig trwy chwys. Mae y tê hwn yn fuddiol mewn twymynon, pan y byddo yr ymysgaroedd yn rhydd : gwna rwymo ychydig, yn gystal a iachau y dwymyn.

## Melynion y Waen.—*Marsh Marigold.*

MAE y llysieuyn hwn yn tyfu mewn gweunydd gwlybion, ac yn ymyl cwterydd lle y byddo dwfr : yn tyfu ac yn blodeuo yn gynar yn y Gwanwyn cyn y byddo dim arall yn tyfu.

Mae eu dail yn dri onglog fel calon, yn lled fawr, yn wyrdd eu lliw, yn tyfu yn llwyni canghenog; ei flodau o liw melyn hardd, yn debyg eu dull a'u lliw i flodau Crafangc y Frân, ond yn fwy o faint; gellir ei adnabod o bell yn y Gwanwyn, oblegyd ei liw melyn hyfryd, pa un a lona y llygad a'r teimlad, fel arwyddion o ddynesiad yr Haf a'i fwynderau.

Nid oes rhyw lawer o rinweddau meddygol yn y llysieuyn hwn; fe allai fod ei harddwch yn fwy na'i rinweddau, ond dichon y gwnelai beth daioni, ar rai amgylchiadau. Mae tê o hono yn dda rhag y llewygon. Hefyd, byddai y blodau yn wasanaethgar i wragedd i liwio yn felyn.

## Meryw.—*Juniper Tree.*

MANWYDD yw y rhai hyn a welir yn aml ar rosydd. Nid ynt yn tyfu yn uchel yn y wlad hon; ond maent mewn gwledydd ereill yn tyfu yn goed lled fawrion. Mae y rhisgl o liw llwyd-goch; y cangau yn wydn; y dail yn hir-gul, a phigog yn eu blaenau. Blodau melynion bychain sydd iddynt. Mae y grawn yn lled fawrion, ac yn dywyll eu lliw pan yn addfed; eu harogl yn gryf, ond ddim yn anhyfryd; y blas i ryw raddau yn felus, ond ystoraidd *(resinous)*. Nid yw y grawn yn addfedu y flwyddyn gyntaf, ond parhant yn leision dros ddau Haf ac un Gauaf, cyn yr addfedont; ac felly, wedi iddynt ymddangos, ceir grawn gleision arnynt yn wastadol: addfedant tuag amser cwympiad y dail.

Mae y rhai hyn yn nodedig am eu rhinweddau meddygol: mae y grawn yn lled wresog a sych; mor nerthol i wrthwynebu gwenwyn, a chlefydau cydiadol, ag unrhyw gyffyr sydd i'w gael; maent yn rymus iawn i gynhyrfu y dwfr, ac yn feddyginiaeth ragorol i'r dyfrglwyf. Tueddant i gryfhau y cylla, gwasgaru gwynt o unrhyw ran o'r corph, a dofi pangau y coluddwst. Tuag at hyn gellir bwyta chwech neu ddeg o'r grawn addfed yn y boreu. Gwnant hefyd rwyddhau yr anadl, esmwytho poen yn y bol, y cwlwm gwythi, a'r dirdyniadau. Bernir eu bod yn hynod o adnewyddol i'r cyfansoddiad, ac felly yn cryfhau yr ymenydd a'r olwg; yn effeithiol iawn i wella pob math o gryd, a chryfhau yr aelodau. O'r Almaen *(Germany)*, yn benaf, y ceir y grawn a ddefnyddir gan fferyllwyr.

## Mieri, Drysi.—*Briars.*

Nid oes eisieu desgrifio y planhigyn pigog hwn gan ei fod yn lled adnabyddus. Mae y dail a'r blodau yn dda iawn i lanhau pob math o glwyfau hen a diweddar, trwy wneyd trwyth cryf o honynt, a golchi y manau ag ef. Mae y brigau a'r ffrwythau, tra heb addfedu, yn rhwymawl iawn, ac felly yn dda i attal y gwaed o unrhyw fan: os bydd gwaed yn dyfod gyda'r dwfr, neu os byddwch yn poeri gwaed, gall fod yn dda. Mae y gwreidlyn yn dda iawn i dreulio a glanhau y graian o'r arenau a'r bledren. Nid yw y ffrwythau pan yn addfed mor rhwymawl, ond y maent yn gryfhaol a iachus: iachant glwyfau yn y gwddf, a gwnant les mawr i'r bobl sydd yn cael eu blino gan glwyf y marchogion.

## Mintys Mair.—*Spearmint.*

Y mae amrywiol fathau o Fintys, ond y rhai hyn yw y rhai a brisir fwyaf, ac felly hwy yn unig a ddesgrifir yma. Mae iddynt gyrs crynion, hirion, a dail culion arnynt, o liw gwyrdd tywyll. Mae iddynt flodau glas-oleu, yn sefyll yn dywysenau ar flaenau y cyrs: mae eu harogl yn hyfryd. Er eu hamlhau rhaid planu gwreiddiau. Mewn gerddi maent i'w cael fynychaf: wedi eu planu yn yr ardd unwaith, nid hawdd cael eu lle mwy. Tuag Awst fynychaf y maent yn blodeuo. Maent yn cael eu defnyddio mor fynych yn y gegin, fel na raid manylu wrth eu desgrifio.

Defnyddir hwynt yn îr neu yn sych, ac maent yn rhinweddol iawn at holl glefydau y cylla; maent o natur wresog a rhwymol. Ond eu hysigo, a'u rhoi wrth y talcen a'r arleisiau, gwnant esmwytho poen yn y pen; mae eu trwyth yn dda i olchi penau plant i wella crach arnynt. Mae eu tê yn llesiol i afu oer, a symud rhwystrau o hono, cynorthwyo y cylla i dreulio y bwyd, a'i awchu ato. Mae yn fuddiol neillduol hefyd, ond ei droi yn y genau, i iachau archollion ynddo, caledu cig y dannedd, a iachau yr anadl.

## Mintys Poethion.—*Peppermint.*

Fe'u gelwir yn gyffredin Mint cochion. Maent yn tyfu yn y gerddi, ac weithiau tu allan i'r gerddi, lle b'o daear wleb.

Mae y llysieuyn hwn yn un o'r meddyginiaethau goreu rhag pangau y rhefrwst *(colic)*; esmwytha yr arteithiau mwyaf poenus yn fynych mewn mynyd. Mae yn treiddio trwy yr holl gorph, pob gwythien a gewyn, mewn ychydig fynydau. Pe byddai dyn yn dal dyrnaid o'r llysiau hyn yn ei ddwrn am ychydig fynydau, treiddiai eu harogl trwy ei holl gorph. Mae ychydig ddognau o hono yn ymlid a chwalu gwynt o'r cylla a'r ymysgaroedd, yn nerthu natur, ac yn gwella yr wrwst *(cramp)* yn y cylla, ac yn ei nerthu i chwalu y bwyd. Mae yn un o'r pethau goreu rhag poen a gwaew yn y coluddion oddiwrth ryddni ac oerfel, dirdyniadau y gewynau, ac i adgyfnerthu natur yn yr *Asiatic Cholera.* Mae y llysieuyn hwn yn well wedi sychu nag o'r ardd; hanner dyrnaid o hono mewn *tea-pot*, a'i lanw â dwfr berwedig. Neu gellwch ei roi yn gryfach trwy roi mwy o lysiau neu lai o ddwfr; neu gellwch gael ei sylwedd gan ryw fferyllydd wrth yr enw *Oil of Peppermint.* O bedwar i chwech diferyn yw y dogn.

## Mintys y Creigiau.—*Wild Organy, Wild Marjoram.*

MAE y planhigyn hwn yn tyfu mewn meusydd ac yn ymylau ffyrdd, mewn llawer o leoedd, a theilynga le yn ein gerddi ar amrywiol ystyriaethau. Mae ei wreiddiau yn rhedeg gryn bellder trwy y ddaear, ac yn parhau yn hir i anfon i fyny gyrs llwydion, celyd, petryal, a dail bychain gwyrddion arnynt. Ar flaenau y cyrs saif tuswau o flodau, o liw coch-las dwfn. Hadau duon bychain sydd iddynt; blodeuant tua diwedd yr Haf.

Nid oes braidd well llysieuyn yn tyfu i symud surni o'r cylla; i adferyd awch at ymborth; mae yn rhinweddol i attal peswch, a symud nychdod o'r ysgyfaint, ynghyd â llynoedd gerïaidd, gwrthwynebu gwenwyn, a chryfhau y ddueg. Gwna les mawr i rai a fyddo wedi gwenwyno eu hunain trwy fwyta Cegid *(Hemlock)*, Llewyg yr Iâr *(Hen-bane)*, neu *(Opium).* Mae yn cynhyrfu y dwfr, yn gwella y dyfrglwyf, y llŵg, crafu, pob math o grach, a'r clefyd melyn. Gwna ei sudd, ond ei ddiferu i'r clustiau, gynorthwyo y clyw, a gostwng swn a fyddo ynddynt: mae hwn yn un o'r llysiau goreu ag sydd yn tyfu i wrthwynebu gwenwyn.

## Mintys y Gath.—*Cat-mint.*

Llysieuyn lled gyffredin yn ymyl perthi a chloddiau, i'r hwn y mae llawer o rinweddau. Mae tua thair troedfedd o uchder, y gorsen yn betryal, yn syth, ac o liw goleu: ei ddail yn oleu a llydain, eu hymylau yn fylchog; mae arno flodau gwynion bychain, yn cylchynu y cyrs yma a thraw. Mae iddo arogl cryf iawn, er ddim yn anhyfryd iawn.

Dylid casglu y llysieuyn hwn pan byddo ei flodau yn tori allan, a'i sychu: mae ei dê yn feddyginiaeth nodedig i wella pob math o lewygon.

## Moron Gwynion, Llysiau Gwyddelig, Pannas.—*Parsnips.*

Ni raid cymeryd trafferth i ddesgrifio y gwreiddiau hyn â pha rai yr ydym mor gyfarwydd, gan eu bod i'w cael mor gyffredin mewn gerddi, ac mor fynych yn cael eu defnyddio ar ein byrddau.

Mae Moron yr ardd yn feithrinol iawn, ac yn ymborth iachus, ond lled wyntog; tueddant i dewychu y corph, ond eu bwyta yn aml; maent yn llesiol i'r cylla a'r arenau, ac yn cynhyrfu y dwfr.

## Moron y Maes, Nyth yr Aderyn.—*Wild Carrots.*

Nid yw y Moron gwylltion yn gwahaniaethu llawer oddiwrth rai y gerddi, ond nad ydynt mor olygus, na chymaint, nac mor ddeiliog; mae y gwreiddyn yn fyrach, ac yn fwy coediog, ddim mor addas i'w fwyta, ond yn fwy meddyginiaethol. Maent yn tyfu yn ymyl ffyrdd mewn llawer o leoedd; y gorsen yn syth, rhychiog, ac o liw melyn. Blodau melynion bychain sydd iddynt; tyfant ar flaenau y cyrs yn duswau mawrion; mae yr hadau yn deneuon a hir-grwn, y gwreiddiau yn wynion, a lled flasus.

Mae trwyth Moron gwylltion yn rinweddol iawn i buro y gwaed, symud rhwystrau mewnol, gweithio graian ymaith, a iachau y clefyd melyn: mae yn nerthol iawn i wella cnoad creaduriaid gwenwynig, poen yn yr ochrau, chwalu gwynt yn y cylla a'r ymysgaroedd, ac felly yn gwella y coluddwst.

Mae yr hadau yn fwy rhinweddol at y dybenion a nodwyd na'r gwreiddiau. Gan fod y rhai gwylltion yn fwy rhinweddol, yn feddygol, na rhai y gerddi, gwelwn mor gyflawn o ddarpariaeth ar gyfer iechyd a chysur dyn yw natur!

## Morwydd.—*Mulberry Tree.*

Afreidiol yw desgrifio y planhigion hyn; maent yn lled adnabyddus. Mae y grawn addfed yn nerthol i agor yr ymysgaroedd; ond mae y rhai anaddfed yn ei rwymo, yn enwedig pan wedi sychu, ac felly maent yn rhinweddol neillduol i gymedroli rhediad llynoedd y corph. Mae rhisgl y gwreiddiau, pan newydd gael ei gymeryd ymaith, a'i ferwi mewn dwfr, yn gwneuthur trwyth tra rhagorol i iachau y clefyd melyn, i symud rhwystrau yn yr afu, gweithio trwy y dwfr, a lladd llyngyr llydain yn y corph. Mae sudd y grawn yn beth effeithiol rhyfeddol i wella archollion a phoethder yn y genau a'r gwddf. Mae sudd y dail yn effeithiol iawn i wrthwynebu effeithiau peryglus cnoad seirph, ac yn dda iawn i rai fyddo wedi cymeryd gwenwyn. Gellir gwneuthur plastyr rhagorol o'r dail, ond eu pwyo yn gymysgedig â finegr, i'w osod ar losg tân. Dywedir y gwna y dail attal rhediad y gwaed o'r trwyn, neu o glwyf y marchogion.

## Mwg y Ddaear.—*Fumitory.*

Dyma blanhigyn gwyllt prydferth arall, ag iddo ddail gleision rhanedig, ag arnynt dywysenau o flodau glas-goch: ceir ef yn fynych mewn caeau ŷd yn Mehefin a Gorphenaf. Mae tua deg modfedd o uchder. Mae ei gorsen yn gron, rhychiog, a thrwchus, er ddim yn gref, o liw goleu. Mae y dail yn fawrion, ac yn ymranu i lawer o ranau bychain, a'u blaenau yn grynion, ac o'r un lliw a'r gorsen: blodau bychain, glas-goch sydd iddo. Mae ei sudd yn effeithiol iawn i wella y clefri poeth *(scurvy)*; symud rhwystrau o'r coluddion; gwella y clefyd melyn, a chlefydau ereill a achlysurir gan rwystrau. Ond berwi yr un faint o Fwg y Ddaear, gwreiddiau Dant y Llew, a gwreiddiau *Liquorice*, ceir tê rhagorol i symud anmhuredd o'r gwaed, ac felly i wella y tarddiadau gwaethaf a fyddo ar y croen; yfer llonaid cwpan tê o faintioli canolig o hono foreu a hwyr.

## Ofer-Garu.—*Pansy.*

LLYSIEUYN distadl yw hwn, a dŷf yn yr ardd ac yn y maes fel chwỳn. Mae ei ddail yn hir-gul, a rhai bylchau, ond nid yn ddwfn ; taena yn ganghenau o'r bon, a blodeuyn ar flaen pob cangen. Mae pen pob corsen yn plygu i lawr ; pump dalen yn mhob blodeuyn, y ddwy uchaf yn gyffredin o liw porphor tywyll, a'r tair isaf o liw melyn, a llinellau duon yn eu canol. Nid wyf yn cofio i mi weled un llysieuydd erioed yn cymeryd y drafferth o'i ddesgrifio ; esgusodant eu hunain drwy ddywedyd fod pawb yn ei adnabod ; ond nid yw hyny yn wir am bawb. Mae llawer yn ein gwlad ag nad ydynt yn ei adnabod, a mwy nad ydynt yn gwybod dim am ei rinweddau. Mae yn un o'r llysiau mwyaf enwog at bob math o glwyfau, cornwydydd, a'r manwynion. Mae *Stork*, ac amrywiol physygwyr enwog ereill yn ei ganmol yn uchel fel meddyginiaeth werthfawr rhag pob math o grach yn mhenau plant, a'r anhwyldeb diffaith hwnw a elwir *Crysta lactea.* Y ffordd i'w gymeryd rhag y dolur uchod, a phob math o grach, a hen glwyfau clefyd y brenin, yw berwi dyrnaid o'r llysieuyn yn Ir mewn chwart o laeth newydd odro, a hyny wrth dân araf am ddwy awr, a'i yfed nos a boreu.

Hefyd, mae yn cael ei ystyried yn feddyginiaeth rymus rhag llewygon a diffyg anadl. Cofiwch, bydd yn rhaid i chwi roddi y llysieuyn yn sugaethan wrth y clwyfau, neu y crach, yn gystal ag yfed y llaeth. Neu, os bydd yn fwy dewisol genych, gellwch wneyd eli o honynt trwy eu berwi mewn ymenyn heb halen, nes y byddo yr ymenyn yn wyrdd ei liw, a'u gwasgu o'r ymenyn, a rhoi yr eli ar y clwyfau.

## Ogfaen, Crawel y Moch.—*White Thorn Berries, or Haws.*

NI raid desgrifio y pren ar yr hwn y tyfa y rhai hyn, i rai sydd yn byw yn y wlad ; mae tyddynwyr yn ei weled yn aml, ac yn gorfod ymarfogi â phâr o fenyg cryfion at ei drafod.

Mae y blodau a'r grawn addfed yn cael eu defnyddio yn feddyginiaethol ; mae eu trwyth yn gweithio yn nerthol trwy y dwfr, ac yn gweithio ymaith y graian, a phob afiechyd

arall o'r un natur. Ond gan fod cynnifer o bethau ereill mwy hyfryd, a attebant yr un dybenion, anfynych y defnyddir y rhai hyn yn awr.

## Onnen.—*Ash.*

Mae y pren hwn i'w weled yn gyffredin yn ein coedwigau a'n perthi; byddai yn ddiystyrwch i basio heibio i bren mor ardderchog â'r Onnen, heb ddywedyd rhywbeth am dano. Fe aeth y fwyall unwaith i'r goedwig i ymofyn coes: ar hyn aeth y coed i siarad a'u gilydd pa beth oedd oreu i wneyd. Ond wrth edrych dros y fwyell, gwelsant ei mîn, a barnasant mai gwell peidio a rhoi coes iddi, rhag ofn y buasai yn eu harcholli. Crwydrodd y fwyell trwy fintai o ffynidwydd i ofyn coes, ond methodd a chael yr un; bu yn crefi ar resi o sycamorwydd, ond nis cafodd; bu yn mysg y dderi yn cardota coes, ond nis cafodd asglodyn; ond o'r diwedd daeth at yr Onnen, a gofynodd goes; ond yr oedd yr Onnen mor sychlyd ag ereill; ni fynai roi dim; ond dadleuodd y fwyell yn dŷn, dywedodd am iddi beidio a sefyll yn ei goleu ei hun: nad oedd hi yn meddwl cwrdd â'r coed mawrion, ond tori y draen â'r mieri oedd o'u cylch; nad oedd y rhai hyny ddim ond cadw yr haul a'r gwynt oddiwrthynt, ac y buasai y coedydd yn cael llawer mwy o chwareu teg wedi hyny; ac y buasai y goedwig yn llawer harddach. Ac fe wrandawodd yr Onnen ar resymau y fwyell, a hi a roddodd iddi goes. Ond wedi iddi gael ei choes, ni wnaeth hi yr un sylw o'r drain a'r mieri, ond dechreuodd guro ar yr Ynn, a'r deri, a'r ffynidwydd, y sycamorwydd, a phob pren o werth, nes oeddynt yn syrthio yn glydeiriau. Trueni oedd i'r fwyell gas dwyllo pren mor deg â'r Onnen. Ond nid coesau offer yn unig yw rhinweddau yr Onnen; mae ynddi rinweddau meddygol.

Mae y pren hwn yn ddyfrawl, yn agor rhwystrau yn yr afu a'r ddueg a'r arenau, ac felly yn gyffair grymus i wella y clefyd melyn a'r graian, ac i wthio pob hylifau dyfrllyd o'r gwaed; a phan y byddo gormod o heli ynddo, megys yn y clefri poeth. Yn y rhisgl mae y rhinwedd mwyaf; a rhisgl y coed ieuangaf sydd oreu: neu os byddwch yn ewyllysio, gellwch ddefnyddio yr hadau.

### Onnen Ber.—*White Ash.*

MAE y llysieuyn hwn yn tyfu ar hen gloddiau o gylch tai. Mae ei ddail yn asgellog, yn debyg yn eu dull i ddail Onnen, ond eu bod yn fwy goleu eu lliw, ac yn decach. Mae corsen gron yn tyfu o'u mysg, yn ddwy droedfedd, mwy neu lai, fel y byddo y tir, yn taenu yn fân ganghenau tua'r blaen, a phwysi o flodau gwynion ar eu blaenau. Mae y llysieuyn hwn yn perthyn yn agos i lysiau yr angel, ac yn effeithiol iawn i agor tyllau y chwys; yn gweithio pob anmhuredd o'r gwaed, yn enwedig pob hylif helïaidd, yn dda hynod rhag yr anwyd a'r *blast*, neu yr awel. Mae llawer yn ei ddefnyddio i fwydo chwydd, a llaesu gwanegon, ond yfed ei dê ar yr un pryd. Mae yn llysieuyn hawdd i'w gael, ac yn ddiniwed.

### Orpin.—*Orpine, Liblong or Lovelong.*

LLYSIEUYN tlws iawn yw hwn, sydd yn lled gyffredin yn ymyl cloddiau, ac mewn gerddi, lle y tyfa yn uwch nag yn y maes. Mae y blodau yn goch-wyn, yn tyfu yn duswau, y gorsen yn gron a bywynog, y dail yn hir-grwn, o liw gwyrdd, a'u hymylau yn fylchog, a'r gwreiddyn yn drwchus, o liw gwyn. Gall dyfu dros gryn amser allan o'r pridd, gan sugno maeth o'r awyr.

Mae y sudd wedi ei wneuthur yn *syrup* yn rhinweddol neillduol i iachau cnoadau yn y cylla a'r bol, a chlwyfau yn yr ysgyfaint, yr afu, a rhanau mewnol ereill, ddim ond ei gymeryd dros amrywiol o ddyddiau yn olynol: gwna les mawr hefyd i attal clefyd y gwaed, a llynoedd ereill yn y corph; sychu a gwella archollion. Defnyddir ef yn allanol i oeri poethder mewn clwyfau, i wella llosg tân, ond cymysgu ychydig o *salad oil* ag ef. Ond ysigo y dail, a'u rhoi wrth archoll yn y llaw neu y coesau, gwnant ei iachau yn fuan; gwnant les mawr yn nolur y gwddf, ond eu rhoi wrth y gwddf. Ond rhoi ychydig o fêl neu siwgr yn gymysgedig ag ef, a chymeryd llwyaid neu ddwy o hono ar y pryd, gwna les mawr yn y dolur peryglus a nodwyd.

### Pabi'r Gwenith, Efrau.—*Darnel.*

NID oes angen desgrifio y llysiau hyn; mae tyddynwyr yn

eu cael yn yr ŷd lawer amlach nag yr hoffent; gwelir hwynt hefyd yn ymylau cloddiau; mae iddynt eu rhinweddau meddyginiaethol. Mae plastyr o'u blawd yn rhinweddol iawn i wella archollion pydron ac ysol. Mae eu trwyth, wedi cymysgu ychydig o fêl ynddo, yn effeithiol hynod i esmwytho poen y glunwst, ond golchi y lle dolurus ag ef. Mae y blawd yn dda rhagorol i wneuthur plastyr i dynu drain, asglod, neu esgyrn briwedig o'r cnawd. Mae trwyth yr efrau cochion yn enwedig, yn effeithiol iawn i gymedroli rhediad llynoedd y corph.

## Palf y Llew.—*Lady's Mantle.*

PLANHIGYN prydferth yw hwn, a dyfa yn wyllt, mewn amrywiol barthau o'r wlad: mae arno lawer o ddail tlysion, yn cael eu bylchu i wyth ran, a phob un o'r rhanau hyny yn cael eu bylchu yn yr ymylau yn rheolaidd iawn. Maent o liw melyn-wyrdd, ac agos mor llydain â chledr llaw dyn; safant ar gyrs tua modfedd neu ddwy o hyd. Tyfa y cyrs yn eu canol; maent yn lled grynion, blewog, tuag wyth modfedd o hyd, ddim yn hollol syth, ac o liw gwyrdd goleu. Saif tuswau lled fawrion o flodau gwyrddion bychain ar flaenau y cyrs; mae amrywiol linynau cochion trwyddynt. Mae y gwreiddyn yn hir, trwchus, ac o liw tywyll.

Y gwreiddyn yw y rhan ddefnyddir fynychaf: mae ei drwyth yn feddyginiaeth ragorol i wella clefyd y gwaed, a gwaedlifoedd ereill. Gwna ei bowdr wedi ei sychu ateb yr un dyben. Arferai gwragedd gynt osod y dail wrth eu bronau i'w hesmwytho, pan fyddent wedi chwyddo o herwydd llaeth ceuledig.

## Panas y Fuwch, Panas Gwylltion.—*Cow Parsnips.*

MAE y llysiau hyn yn tyfu yn wyllt mewn dolydd isel, lle y byddo daear fras, ac yn ochrau caeau ŷd. Maent yr un fath a Phanas y Gerddi, ond eu bod yn llawer garwach, a mwy blewog; dail asgellog mawrion, crynion, cryfion, rhychiog, yn taenu yn ganghenau tua'r blaen, a blodau gwynion yn tyfu yn bwysïau, a hadau yn eu canlyn, cyffelyb i hadau Panas y Gerddi. Y gwreiddiau a'r hadau a

ddefnyddir fel meddyginiaeth: maent yn dda rhag peswch a diffyg anadl; symud rhwystrau yn y ddueg a'r afu; ac yn dda yn y clefyd melyn. Yn glanhau y coluddion oddiwrth lysnafedd dyrllyd, ac yn dda i'r rhai ydynt yn dueddol i'r dyfrglwyf. Mae sugaethan o'r gwraidd yn dda i iachau hen glwyfau. Dywedir bod llosgi yr hadau dan ffroenau rhai fyddo mewn llewygon yn eu deffroi.

## Pelydr Yspaen.—*Pellitory of Spain.*

MAE hwn yn blanhigyn tlws a gedwir mewn gerddi: mae tuag wyth modfedd o uchder. Mae y gorsen yn gron a thrwchus. Rhenir y dail mewn modd rheolaidd iawn, ac maent rhywbeth yn debyg i ddail y Camamil, ond eu bod o liw gwyrdd gwan, yn drwchus: mae y gorsen o liw gwyrdd. Saif y blodau ar flaen y cangau, ac maent yn rhai prydferth iawn; yn eu ffurf a'u maintioli maent yn debyg i Lygaid y Dydd, eu hymylau yn wynion, melynion yn y canol, a chochion ar y tu isaf. Mae y gwreiddiau yn hirion a thrwchus, a lled wresog.

Defnyddir y gwreiddiau: ceir hwynt gan gyffyrwyr. Gwna eu surlyn lenwi y genau â llitlyn y pen, a gwneuthur lles mawr i esmwytho y ddannodd. Da fyddai i un wedi cael ergyd gan y parlys eu gosod yn ei enau; maent weithiau trwy eu heffeithiau cynhyrfiol, wedi adferyd y llais a grym i lefaru.

## Pelydr y Wal, Llysiau'r Pared.—*Pellitory of the Wall.*

MAE y llysieuyn hwn yn drigianydd y maes, ac i'w gael yn ymyl caeau ŷd, yn ymyl hen furiau, ac yn mysg hen adfeiliau; ei gorsen yn wan, yn fain, ac yn gochlyd ei lliw, a dail ar hyd-ddi yma a thraw, un ar gyfer y llall, lled fawrion, yn eirwon, ac yn flewog: ond heb ddim bylchau yn yr ymylau. Mae y gorsen tua'r blaen yn taenu yn fân ganghenau, a blodau yn dyfod allan gyda phob dalen, yn gribyn bychan, a'u lliw yn welw, a gwawr goch-las iddynt. Mae eu hadau yn fychain, yn ddu, ac yn arw, yn glynu yn eich dillad pan gyffyrddoch â hwynt. Mae yr holl lysieuyn

yn droedfedd neu chwaneg o hyd, yn marw bob Gauaf; ac yn tyfu o hono ei hun yn y Gwanwyn canlynol. Mae yn rhy anhawdd enwi holl rinweddau y llysieuyn hwn; ni chynyrcha ein gwlad ei well rhag anhwylderau y ddwyfron, mewn hen beswch sych, diffyg anadl, cyfyngder a gwichian yn y pibau gwynt. Hefyd, mae yn hynod dda rhag poen yn yr ochrau, yr ymysgaroedd, y cefn, a'r lwynau, yn cael ei achosi gan y gwynt a'r graian; ymlidia ymaith y gwynt, esmwytha y rhefrwst, a'r brathiadau yn yr ochrau, glanhâ y cefndedyn, yr arcnau, y bledren, a holl rodfeydd y dwfr; gyr ymaith y graian, a iacha y briwiau yn y rhanau poenus. Mae yn hynod o dda i'r rhyw fenywaidd yn mhangau y famwst, attaliad y cylchdroad, yn nghyd a rhwystrau yr afu a'r ddueg. Mae yn dda hefyd rhag gwddf dolurus, a rhag hylif poeth yn y gorchfanau a'r dannedd; rhag swn yn y clustiau, a phan y byddo pigiadau a phoen ynddynt. Yn allanol, gellir gwneuthur eli o hono a fyddai yn dda hynod rhag llosgiadau gan dân neu ddwfr. Yr un modd fe iacha yr eli hwn bob math o fflamegau ar y croen, megys y darddwden, yr eryrod, tân St. Antwn, a'r *blast;* iacha hefyd bob math o gornwydon, pendduod, a chrach yn mhenau plant: pâr i wallt dyfu, a glanha y *fistula* ei hun.

Os byddwch wedi tori archoll ag arf miniog, pwywch y dail, a rhwymwch hwynt ar y lle, ac efe a'i iacha ef yn fuan. Os byddwch wedi ysigo cymal, a dirdynu y gewynau, berwch y llysieuyn hwn, ynghyd â dail *Mallows*, a bran gwenith, mewn fincgr cryf, a rhoddwch yn sugaethan ar y lle; fe esmwytha y poen, a ostwng y chwydd, a wasgar y gwaed glydiog, ac a adnewydda y gewynau i'w nerth fel o'r blaen. Rhag yr holl glefydau mewnol, nid oes un ffordd yn well i'w gymeryd nac fel tê, a rhoddi ynddo ddigon o fêl, dyrnaid o'r llysiau, a chwart o ddwfr berwedig. Yfwch hanner peint dair gwaith y dydd. I wneyd yr eli, cesglwch y llysiau pan yn sych, ac yn eu nerth mwyaf; pwywch hwynt hyd oni byddont yn iŵd; gwasgwch y sudd trwy liain; rhoddwch yn y sudd hwn gŵyr gwenyn, gwêr llwdn, ac ychydig o olew per; berwch ef ar dân araf, hyd oni byddo yn eli perffaith: rhaid ei ferwi am gryn amser. I wybod os bydd at dewder, codwch ychydig o hono ar flaen pren, ac oerwch ef; os na bydd ei liw yn wyrdd cryf, rhoddwch ychwaneg o'r sudd

ynddo; os bydd yn rhy dew, rhoddwch ychwaneg o olew ynddo; os bydd yn rhy deneu, rhoddwch ychwaneg o gŵyr a gwer ynddo. Byddai yn well pe rhoddech lysiau ereill gydag ef, megys y Fyddarllys, Llydain y Dwfr, a dail Ysgaw; a'u pwyo am ben eu gilydd, a gwasgu eu sudd a'i wneyd yn eli fel o'r blaen. Byddai yr eli hwn yn drysor gwerthfawr i'w gadw yn eich tai, ac yn wasanaethgar anghydmarol at yr holl ddoluriau a enwyd, a braidd at bob math o glwyfau yn y cnawd a'r croen.—Gweler ychwaneg am dano dan y gair *Briweg*.

## Perfagl.—*Perwinkle.*

MAE i'r fath gyffredin o'r llysieuyn hwn lawer o gangau, yn rhedeg ar hyd y llawr; ac wrth fyned yn mlaen, tŷr allan linynau bychain, y rhai a afaelant yn y ddaear, ac a wreiddiant mewn amrywiol o fanau. Ar gymalau y gwahanol gangau hyn saif dwy ddalen fechan o liw gwyrdd tywyll, dysglaer, a chyda hwynt daw allan flodau un yn mhob cymal, yn sefyll ar gorsen fechan: mae y blodau yn lled hirion a chau, yn rhanu yn yr ymylau. weithiau i bedair, ac weithiau i bump dalen: glas gwan yw y lliw mwyaf cyffredin, mae ereill yn wynion hollol, a rhai yn goch-las. Mae y gwreiddiau rywbeth yn fwy na brwynen, yn crynhoi yn dalpau yn y ddaear, ac yn ymledu cryn lawer, ac felly meddianant lawer o le yn fuan. Ceir y rhai y mae arnynt flodau glas-oleu, a'r rhai â'r blodau gwynion, yn tyfu mewn coedydd a pherllanau, yn ymyl cloddiau mewn llawer o leoedd; ond mewn gerddi yn unig y ceir y rhai â'r blodau coch-las. Blodeuant yn Mawrth ac Ebrill. Saif yr hadau mewn math o godau hirion.

Mae y llysieuyn hwn o natur rwymol iawn: ond cnoi ychydig o'r dail, a llyncu y sudd, gwna attal rhediad y gwaed o'r genau neu y ffroenau; a chymedroli rhediad llynoedd y corph, a gwaediad clwyf y marchogion.

## Persli.—*Parsley.*

MAE hwn yn llysieuyn adnabyddus, cyffredin mewn gerddi; defnyddir ef yn fynych yn y gegin, ac mae yn werthfawr yn feddyginiaeth. Mae trwyth y gwreiddiau yn rhinweddol

iawn i gynhyrfu y dwfr, i chwalu gwynt o'r cylla a'r bol, ac agor yr ymysgaroedd; gwna hefyd symud rhwystrau o'r afu a'r ddueg, treulio ymaith y gareg, llaesu y poen a achosa, a gwrthwynebu gwenwyn, bywhau yr ysbryd, esmwytho peswch; mae yn dda iawn yn y clefyd melyn.

Mae y dail yn rhinweddol i oeri poethder yn y llygaid, a gostwng chwydd ynddynt, yn gymysgedig ag ychydig o fara; wedi eu cras-boethi *(fried)* gydag ymenyn, gwnant blastyr gwerthfawr i dyneru bronau gwragedd pan fyddont wedi caledu o herwydd llaeth ceuledig, a symud duwch a geir o herwydd briwiau a chwympiadau. Gwna eu sudd, ond ei ddiferu i'r clustiau, esmwytho poen ynddynt.

Rhydd meddyg clodfawr y cyfarwyddyd canlynol tuag at wella y gloesion *(epilepsy)*, y clefyd melyn, y dyfrglwyf, a'r gareg yn y bledren:—Cymerer wns o hadau Persli, Ffenigl, Anis, a Charaway; gwreiddiau Persli, Gwlyddyn Mair *(Burnet)*, a Thormaen, wns a hanner o bob un; ysiger yr hadau, a golcher y gwreiddiau a thorer hwynt yn fân; rhodder hwynt oll gyda'u gilydd mewn gwin, mewn costrel wydr lân, i fwydo dros nos, a berwer hwynt boreu dranoeth mewn llestr pridd cauedig, nes y lleiheir rhan o dair o'r gwlybwr; hidler a phurer y gweddill, a chymerir pedair wns o hono y peth cyntaf yn y boreu, ac olaf y nos, a pheidier yfed dim arall dros dair awr. Gwna y gwlybwr hwn agoryd llwybrau yr afu a'r ddueg, a gwna les mawr yn y clefydau a enwyd.

## Persli y Gors.—*Smallage.*

Planhigyn gwyllt cyffredin yw hwn, yn tyfu yn ymyl cloddiau, ddim yn annhebyg i Grafanc y Frân; mae y gorsen tua dwy droedfedd a hanner o uchder; cyfyd y dail oddiar y gwraidd. Saif y blodau yn duswau ar raniad y cangau. Mae tê cryf y gwreiddiau yn beth nodedig i gynhyrfu y dwfr; yn llesiol i wella y graian, y clefyd melyn, ac unrhyw afiechyd a godo oddiar rwystrau yn yr afu a'r ddueg. Mae yr hadau, wedi eu sychu, yn effeithiol iawn i ddofi y rhefrwst, a chadarnhau y cylla.

## Persli y Meirch.—*Lovage.*

Mae hwn yn blanhigyn uchel, weithiau tua saith neu wyth

troedfedd, rhychiog, trwchus, a chau. Mae y dail yn fawrion, ac megys pe gwnelid hwynt i fyny o lawer o rai llai; yn lletach yn y blaen nag wrth y gorsen; maent o liw gwyrdd tywyll, yn llyfn a dysglaer. Mae y dail sydd ar y gorsen yn llai na'r rhai sydd o'i chylch. Tua blaen y gorsen tŷr allan gangau mawrion, ac arnynt duswau mawrion o flodau melynion. ac ar eu hol daw hadau llwydion. Mae y gwreiddyn yn fawr, trwchus, a dwfn, yn lledu llawer, ac yn parhau yn hir; mae yn llwyd o'r tu allan a gwyn o fewn. Mae i'r holl blanhigyn arogl peraidd; mae o natur wresog, a gwna losgi ychydig pan rodder ef ar y tafod. Codir ef mewn gerddi o herwydd ei rinweddau lluosog. Mae yn blodeuo tua diwedd Gorphenaf, ac yn hadu yn Awst.

Mae trwyth y gwreiddyn neu y llysieuyn yn rhinweddol neillduol i wella pob math o gryd, a phoen yn yr ymysgaroedd wedi ei achlysuru gan oerfel: gwna yr hadau hefyd ateb y dybenion a nodwyd, a gweithia y naill a'r llall yn nerthol iawn trwy y dwfr. Hefyd, gellir defnyddio powdr y gwreiddyn wedi ei sychu i'r un perwyl.

## Pidyn y Gog.—*Arum, Cuckow-Pint, Wake Robin.*

Llysieuyn gwenwynllyd yw hwn, mae plant lawer gwaith wedi cael niwed wrth gnoi ei ddail; mae eu tafodau wedi chwyddo nes llenwi eu geneuau, a theflir hwynt i ddirdyniadau dychrynllyd. Yn y cyfryw amgylchiad dylid cymeryd cyfoglyn yn ddioed. Mae ei ddail yn fawrion, yn eu ffurf yn debyg i ben adfachog saeth, o liw gwyrdd cryf, ac yn frycheulyd weithiau. Yn Ebrill neu Mai yn mysg y cyrs cryfion, tyr corsen gref allan, ac arni flodeuyn hynod, coch neu wyn, yn cael ei gylchynu gan wisg wen groenenaidd. Dywedir fod ei wreiddiau yn feddyginiaeth ragorol rhag y cryd; ond nid yw yn ddiogel i un dyn anfedrus ei ddefnyddio.

## Pigl.—*Hound's Tongue.*

Mae i'r llysieuyn hwn lawer o ddail hirion, culion, tyner, blewog, o liw gwyrdd tywyll, a goleu weithiau, yn gorwedd ar y ddaear, lled debyg i ddail Tafod yr Ych *(Bugloss)*, o fysg pa rai y cyfyd corsen arw a blewog, tua dwy droedfedd

a hanner o uehder, ae ychydig o ddail llai arni, ae yn agor yn y blaen i amrywiol o gangau, a dalen feehan ar flaen pob eangen. Ar y cangau hyn mae cryn lawer o flodau, eynwysedig o ddail coeh-las byehain, ac ychydig o linynau yn eu eanol : mae y blodau weithiau yn wynion. Ar ol y blodau daw hadau llydain teneuon, a lynant yn union wrth ddilledyn y cyffyrddont ag ef, ac nid hawdd fydd eu eael ymaith. Mae y gwreiddyn yn hir, du, a thrwehus, yn anhawdd i'w dori, ac yn llawn o sylwedd glydiog, ae mae ei arogl ef a'r dail yn lled anhyfryd, rywbeth yn debyg i arogl tŷ lle y eedwir haid o gŵn hela. Mae yn tyfu mewn tir llaith anwrteithiedig, yn ymyl ffyrdd a ehloddiau. Blodeua yn Mai neu Fehefin, ac addfeda yr hadau yn fuan wedi hyny.

Mae trwyth y gwreiddiau yn rhinweddol iawn i syehu y llynoedd oerion a redant o'r pen i'r llygaid a'r trwyn, neu i'r cylla a'r ysgyfaint, i wella peswch a diffyg anadl. Gwna tê y dail dyneru ae agor yr ymysgaroedd ; gwella enoad ei eynddeiriog, ond rhoi yehydig o'r dail hefyd ar yr areholl : gwna y dail ond eu hysigo, a'u eymysgu â bloneg mochyn, les mawr i losgiad tân, ond eu rhoi yn blastyr wrth y lle dolurus ae hefyd i iaehau elwyf ir. Mae powdr y gwreiddyn syeh yn beth rhagorol i attal rhediad gormodol llynoedd yr ymysgaroedd.

## Pisgwydden, Pisgen.—*Lime Tree.*

Mae y pren hwn i w gael yn gyffredin mewn meusydd a gerddi, ac mae yn un hardd iawn, ae yn arogli yn hyfryd neillduol pan yn ei flodau. Mae corph y pren yn dew, a'r cangau yn tyfu yn lled reolaidd. Dail byrion, llydain, lled grynion sydd iddo, a thoriadau yn eu hymylau. Mae y blodau yn tyfu ar gyrs hirion melynion, a dail hirgul iddynt. Mae y blodau eu hunain o liw melyn goleu, a'u harogl yn hyfryd iawn. Ffrwythau erynion bychain sydd iddo.

Mae trwyth wedi ei wneuthur o'r blodau trwy eu gwlyehu neu eu berwi, yn llesiol i wella y llesmeirglwyf, a thwymyn y gewynau, i rwyddhau yr anadl, ae esmwytho peswch. Mae y gwlybwr sydd ar du mewn y rhisgl isaf, yn dda i wella llosg tân a dwfr, ac i ostwng ehwydd y cymalwst. Mae powdr o'r dail, ond ei gymeryd yn ddognau o hanner dram yr un, yn dda neillduol i laesu gwres yn ffordd y dwfr.

## Poplysen.—*Poplar Tree.*

Nid oes angen manylu wrth ddesgrifio y pren adnabyddus hwn: mae dau fath o hono, gwyn a du; maent yn gyffelyb yn eu rhinweddau, ond fod yr un du yn gryfach na'r un gwyn. Mae powdr y rhisgl yn rhinweddol i laesu poen y glunwst, a rhyddhau rhediad y dwfr. Mae sudd y dail, ond ei ddiferu i'r clustiau, yn effeithiol iawn i ddofi poen ynddynt. Mae yr impiau glydiog a thyner, cyn y toront allan yn ddail, ond eu dryllio a chymysgu ychydig o fêl â hwynt, yn llesiol rhyfeddol i gryfhau yr olwg. Bernir fod dail yr un ddu yn enwedig, ond eu hysigo a rhoddi ychydig o finegr arnynt, yn llesiol iawn i laesu poen y cymalwst; a bod yr hadau, ond eu cymeryd mewn finegr, yn dda i wella y gloesion. Gwna y dwfr a saif ar ryw geudod ar ochrau y pren hwn, symud dafaden a chrach oddiar y croen; mae enaint y dail yn rhinweddol i sychu bronau gwragedd pan wedi diddyfnu eu plant.

## Porpin.—*Purslain.*

Gan fod Porpin yr ardd yn cael ei ddefnyddio fel bwydlysiau, mae mor adnabyddus fel na raid ei ddesgrifio yn fanol. Mae tua throedfedd o hyd, yn cripian ar hyd y llawr. Mae y cyrs yn grynion a thrwchus, o liw cochlyd, llawn, ac yn frau rhyfeddol; y dail yn fyrion a chulion, o liw gwyrdd, yn llydain a thewion: blodau melynion bychain sydd iddo; safant yn mhlith y dail, tua blaenau y cyrs; y gwreiddyn yn fychan a gwynaidd.

Mae yn llysieuyn hyfryd iawn i'w ddefnyddio fel bwydlysiau, a thrueni mawr na chaffai ei fwyta yn fwy cyffredinol: gwnelai les mawr i buro y gwaed, ac felly i wella y llwg. Gweithia yn nerthol trwy y dwfr, i oeri yr afu, y gwaed, yr arenau, y dwfr, a'r cylla; ac nid oes braidd ei well mewn cryd poeth; gwna arafu rhediad llynoedd y corph, a llynoedd oerion y pen, ac esmwytho poen ynddo. Mae yr hadau yn fwy effeithiol na'r llysieuyn; ond dylid peidio cymeryd dognau mawrion o honynt. Ond eu dryllio a'u berwi mewn gwin, a'u rhoi i blant i'w hyfed, gwnant ladd llyngyr. Gwna sudd y llysieuyn, ond cymysgu ychydig o fêl ag ef, atal cyfogiad a pheswch sych, a rhwyddhau yr

anadl. Gwna hefyd oeri poethder mewn hen glwyfau. Gwna y llysieuyn, ond ei ddryllio, a'i roi wrth y talcen a'r arleisiau, oeri gwres ynddynt a fyddo yn cadw cwsg draw, symud poethder o'r llygaid, a rhanau ereill o'r corph, gwellhau pendduod, a Thân Iddwf, a chyffelyb doriadau allan. Gwna y sudd, yn gymysgedig ag ychydig win, les mawr i buro y gwaed, esmwytho y gymalwst, a thyneru caledwch yn y gewynion.

## Pennigan Rhuddgoch.—*Clove Pink.*

Mae amrywiol o fathau o'r llysieuyn hwn : maent yn brydferth iawn, ond ddim o bwys mawr fel meddyginiaeth-

## Pren Ceri.—*Medlar Tree.*

Mae hwn yn bren cyffredin mewn gerddi, ac mae tua maint pren afalau canolig, ac yn tyfu yn afreolaidd fel coed afalau; mae drain ar y cangau. Mae y dail yn hwy a chulach nag eiddo pren afalau ; mae iddo flodau gwynion mawrion. Mae y ffrwyth yn sur iawn, yn enwedig cyn yr addfedo, ac mae yn yr afal yn gyffredin bump cnewyllyn. Blodeua yn Mai, ac addfeda y ffrwyth yn Medi.

Mae trwyth cryf o'r afalau ieuainc yn dda rhyfeddol i atal llynoedd y corph ; i wella archollion yn y genau, a chig y dannedd ; i wella clwyf y marchogion. Gwna powdr y dail wedi sychu, ond ei daenellu ar glwyfau îr a gwaedlyd, eu sychu a'u iachau. Gwna tê yr hadau weithio yn nerthol trwy y dwfr.

## Pumbys, Pumnalen.—*Five-leaf Gras, Cinquefoil.*

Llysieuyn gwyllt yw hwn, yn tyfu yn ymyl ffyrdd, ac mewn tir porfa. Mae y gorsen yn gron a llyfn, ac yn gyffredin yn gochlyd ; mae yn ymlusgo ar y llawr, gan gymeryd gwraidd o bob cymal ; saif y blodau ar gyrs hirion, pump ar bob corsen ; maent dros fodfedd o hyd, yn gul, ac o liw gwyrdd, a'u hymylau yn fylchog ; saif eu blodau melynion ar gyrs hirion ; y maent tua maint swllt, ac yn sefyll o gylch pen gwyrdd, a rhai llinynau cochion trwyddynt ; maent yn dlysion iawn : cynwysa y penau hyn hadau llwydion bychain. Mae eu gwreiddyn tua maint bys bach dyn, yn

lled hir, a rhisgl llwyd arno. Blodeua y llysiau hyn yn yr Haf, rhai yn gynar a rhai yn ddiweddar.

Defnyddir rhisgl ei wreiddyn ; dylid ei godi yn Ebrill, tynu y rhisgl ymaith, a'i sychu. Mae y rhisgl, ond ei wneuthur yn bowdr, yn dda i gymedroli rhediad llynoedd y corph ; mae yn effeithiol iawn i wella cryd o bob math, ond cymeryd ychydig o hono mewn gwin gwyn neu finegr.

Mae trwyth y llysieuyn yn rhinweddol neillduol at unrhyw fflameg a thwymyn, i oeri a thymeru y gwaed ; ond ei droi yn y genau, gwna wella clwyfau ynddo, ac archollion gwlybion drewllyd yn ngwahanol ranau y corph. Dywedir y gwna cymeryd pedair wns o'i sudd ar unwaith dros amrywiol o ddyddiau yn olynol, wella dolur y gwddf a'r gloesion. Ond berwi y gwreiddyn mewn llaeth, a'i yfed, gwna wella clefyd y gwaed ; ond ei ferwi mewn finegr, a dal y trwyth yn y genau, gwna attal y ddannodd. Ond cymysgu ychydig o fel â'r trwyth hwn, neu â sudd y llysieuyn. a'i gymeryd, gwna wella crygni a pheswch.

Ond berwi y gwreiddyn mewn finegr, gwna y trwyth les mawr i ostwng chwydd caled mewn unrhyw ran o'r corph ; gwella poethder Tân Iddwf ; pob math o gornwydon ac archollion gwresog yn tueddu at budredd, pob math o glwyfau a chrach, a'r crafu, ond golchi y lle dolurus ag ef. Ond ei ferwi mewn gwin, a'i roi ar gymal dolurus o herwydd y gymalwst a'r glunwst, ac yfed ychydig o'r trwyth ar yr un pryd, gwna les mawr i symud y poen ; gwna hefyd ddofi poen yn yr ymysgaroedd. Gwna trwyth y gwraidd ddaioni mawr i iachau clwyfau ac ysigdod mewnol neu allanol, wedi eu cael trwy gwympiadau neu ergydion, ac i attal gwaediad clwyfau ar unrhyw ran o'r cnawd.

## Pupr y Gors, Blodau y Gog.—*Ladies' Smock, or Cuckow-Flower.*

Mae digonedd o'r llysieuyn hwn yn tyfu yn ein gwlad, yn ymyl cwterydd, mewn gweunydd gwlybion. Y maent ddechreu yr haf yn lliwio y gweunydd â'u blodau : mae eu dail yn asgellog, yn dyfod allan o'r asen ganol : yn fychain ac ymron yn grynion, a'r ddalen fwyaf yn wastad ar flaen yr asen ; o'u mysg cyfyd corsen gron, yn rhychwant neu droed-

fedd o hyd; weithiau taena yn fân ganghenau tua'r blaen, a phwysi o flodau gwynion ar y blaen, a gwawr gochlyd iddynt. Mae ei flas yn boeth ar y tafod, yr un fath a Berw y Dwfr, i ba lysieuyn y mae yn perthyn yn agos, o'r un llwyth, ac agos o'r un rhinweddau ag ef. Maent yn ddyfrawl iawn; yn glanhau ymaith y graian, yn awchu y cylla at fwyd; yn cryfhau yr ymysgaroedd; yn iachau yr afu trwy ei oeri a'i larieiddio; yn puro y gwaed, yn gwella y llŵg neu'r clefri, ac yn glanhau y croen oddiwrth bob tarddiadau allan. Mae rhai yn dyweyd fod y blodau, ond eu hyfed fel tê, yn feddyginiaeth anffaeledig rhag llesmeiriadau a heintiau, yn cael eu hachosi gan ormod o waed yn y pen. Byddai yn ddigon hawdd gwneyd prawf o honynt, oblegyd ceir cyflawnder o honynt yn misoedd Mai a Mehefin. Y brig a'r blodau sydd oreu: defnyddir hwynt fel tê.

## Pwrs y Bugail.—*Shepherd's Purse*, *Shepherd's Scrip.*

Mae hwn yn llysieuyn cyffredin iawn; gwelir cyflawnder o hono mewn gerddi, ac yn ymyl llwybrau a thai tyddynwyr. Dail bychain hirion sydd iddo, o liw gwyrdd goleu, a bylchau dyfnion yn eu hymylau, yn mysg y rhai cyfyd corsen gron, tuag wyth neu ddeg modfedd o hyd, ac arni amrywiol o ddail hyd y blaen. Blodau gwynion bychain sydd arni; ar eu hol daw y codau bychain, tebyg i galon, sydd yn cynwys hadau melynion bychain. Saif y blodau ar y blaen yn duswau bychain. Mae blodau i'w gweled arnynt trwy ystod yr Haf, ac mae rhai o honynt mor ffrwythlon fel y blodeuant ddwywaith yn y flwyddyn: mae y gwreiddiau yn wynion.

Mae hwn yn llysieuyn gwerthfawr neillduol i oeri, sychu, a rhwymo. Mae yn rhinweddol iawn i attal rhediad y gwaed o archollion mewnol neu allanol; hefyd llynoedd gwaedlyd y corph, poeri gwaed; ond ei rwymo wrth wadnau y traed a'r arddyrnau, gwna les mawr yn y clefyd melyn. Gwna plastyr o'r llysieuyn hwn ostwng poethder Tân Iddwf. Ond diferu y sudd i'r clustiau, gwna ddystewi swn a gwella poen ynddynt. Gellir gwneuthur enaint gwerthfawr o hono at glwyfau, yn enwedig yn y pen.

## Rhedyn.—*Fern.*

Ni raid cymeryd lle nac amser i ddesgrifio y rhai hyn;

maent yn ddigon adnabyddus. Mae dau fath o honynt, y gwryw a'r fenyw; ond maent yn gyffelyb yn eu rhinweddau. Tyfant yn ymyl ffyrdd a chloddiau, ac ar ochrau a phenau mynyddoedd. Saif yr hadau ar gefnau y dail.

Nid oes braidd un feddyginiaeth mor effeithiol i ladd llyngyr llydain *(tape worms)*, â gwreiddiau pob un o'r ddau fath, yn enwedig eiddo yr un fenyw, wedi eu hysigo a'u berwi mewn dwfr ag ychydig o fêl; gwna hefyd ostwng chwydd yn y ddueg. Ond berwi y gwreiddiau, yn gymysgedig ag ychydig o floneg mochyn, gellir cael enaint gwerthfawr at glwyfau. Gwna powdr y gwreiddiau sychu archollion gwlybion a digofus. Gwna mŵg Rhedyn yru ymaith seirph, a phob math o wybed a chlêr; y rhai mewn tiroedd corsog ydynt yn fynych yn drallodus iawn.

## Rhedyn Mair, Rhedyn Crist.—*Osmund Royal.*

Mae y llysieuyn hwn yn tyfu mewn hen goedwigau gwlybion, ar ben cloddiau a thwmpathau, mewn hen weunydd dyfrllyd a ddiffrwyth. Mae gwreiddiau mawrion a breision iddynt, yn llawn o lysnafedd glydiog. Mae eu dail yn asgellog a mawrion; esgyll yn tyfu o'r asen ganol, a dail bychain teg yn tyfu arnynt, un ar gyfer y llall, yn debyg i Redyn ereill, ond fod ymylau y dail heb ddim bylchau, ac yn fwy teg a llyfn. Mae y dail canol yn gyffredin yn dwyn blodau a hadau, pa rai ydynt o liw rhuddgoch pan yn addfedu.

Mae y llysieuyn hwn yn fwy rhinweddol o lawer na Rhedyn cyffredin. Mae eu hisgell yn lladd pob math o lyngyr, ac yn gostwng chwydd yn y ddueg; mae yn un o'r llysiau rhagoraf rhag ysigiadau mewnol ac allanol, esgyrn wedi eu tori, a chymylau wedi eu hysigo. Mae eu gwreiddiau wedi eu berwi mewn gwin gwyn, yn ddyfrawl iawn; yn glanhau yr arenau a'r bledren, a phibau y dwfr o bob mân raian a cherig. Gwelais hen bobl yn defnyddio llawer ar ei wraidd i esmwythau y gwanegon a'r gewynwst, trwy ei ferwi mewn dwfr, a mwydo y manau poenus â'i drwyth yn gynes. Gellid gwneyd eli rhinweddol iawn o hono trwy ferwi ei wraidd mewn bloneg neu ymenyn heb halen, i iachau pob math o glwyfau a chornwydydd, &c.

## Rhesinwydd, Rhyswydd.—*Currant Trees.*

Mae y manwydd hyn yn cael eu codi yn lled gyffredin yn awr mewn gerddi, ac mae y grawn duon, wedi eu berwi gyda siwgr, yn dyfod yn bereiddfwyd gwerthfawr iawn: mae ychydig o hono yn rhinweddol iawn i wella gwddf dolurus, a chrygni; rhwyddhau rhediad y dwfr, &c.

## Rhos.—*Rose.*

Mae amrywiol fathau o Rôs, megys Rhosyn Damascus *(Damask Rose)*, Gellir gwneuthur cyffaith *(syrup)* rhinweddol neillduol o hwn yn y dull canlynol:—Cymerer dyrnaid o'r Rhôs dan sylw yn îr, a rhodder dwfr berwedig arnynt ddigon i'w cuddio; yna gadawer hwynt i aros dros bedair awr ar hugain; yna gwasger ymaith y gwlybwr, a chwaneger ato gymaint arall o siwgr; todder hwn, ac yna bydd y cyffaith yn barod. Mae yn garth-feddyginiaeth ragorol i blant, ac nid oes braidd ei well i bobl wedi tyfu i fynu a fyddo yn dueddol i fod yn rhwym. Ond cymeryd ychydig o hono bob nos, cedwir y corph yn dymherus yn wastadol. Mae cyffyriau a fyddo yn carthu yn nerthol, yn achlysuru rhwymiad wedi hyny, *yr hyn nid ystyrir yn gyffredin.* Tybia llawer mai y carthiedydd mwyaf grymus raid fod y goreu. Ond gwell peidio arferyd un cryf iawn un amser, ond mewn achos o berygl; ac yna dylid gofalu wedi hyny am gadw yr ymysgaroedd yn dymherus

## Rhos Cochion.—*Red Roses.*

Gelwir hwynt felly am fod llinellau cochion yn rhedeg trwyddynt. Ond berwi y Rhôs Cochion mewn gwin, ceir gwlybwr rhinweddol neillduol i iachau poen y pen, y llygaid, y clustiau, y gwddf, a chig y dannedd. Gwna yr un trwyth, ond chwanegu ychydig o'r gwreiddiau at y blodau, les mawr i oeri gwres anghymedrol o gylch y galon, Tân Iddwf, a phoethder yn y cylla. Mae eu tê yn rhinweddol i godi yr ysbrydoedd, a chryfhau y cylla a'r afu, gostwng poethder, ac adferu cwsg: tuedda i rwymo ac oeri. Bernir fod y Rhôs gwynion yn gryfach i oeri a rhwymo na'r rhai cochion.

## Rhos Mair.—*Rosemary.*

Mae y llysieuyn hwn yn tyfu yn wyllt, heb un drafferth wrtho yn Spaen a Ffrainc; ond rhaid iddo gael gardd yn Nghymru, a chysgod gwynt y gogledd cyn y tyfo yn dda. Nid oes neb yn cadw Rhos Mair yn ei ardd heb ei adnabod, felly ni raid ei ddesgrifio. Mae yn un o'r llysiau goreu ag a gynyrcha ein gwlad rhag holl anhwylderau y pen a'r gewynau; yn cryfhau yr ymenydd, ac felly yn gwneyd y cof a'r holl synwyrau yn fywiog a chyflym; yn gwella gwendid y gewynau, a chrynfadau yn yr aelodau. Mae y llysieuyn hwn yn cynwys holl rinweddau Synamwn—Cneuen yr India, Had Gardd wy, a Grawn Meryw, a llawer yn ychwaneg. Mae yn cryfhau y galon, yn gwrthwynebu gwenwyn, ac yn iachau twymynon dyspeidiawl o bob math. Mae yn rhagorol dda i'r llygaid i'w clirio a'u cryfhau, ac yn adferu yr olwg pan wedi ei golli; yn llawenhau y galon, yn gyru ymaith ofalon ac ofnau gormodol o'r meddwl; ac yn tarfu ymaith ddychymygion a breuddwydion ffol o'r pen; yn puro y gwaed, yn lliniaru poenau y ddannodd a'r dirdyniadau. Mae yn agor rhwystrau yn yr afu, ac yn cynhyrfu y dwfr a'r chwys. O frigau a blodau Rhos Mair mae y dwfr enwog hwnw yn cael ei wneyd a elwir *Hungary* Water, pa un a iachaodd frenhines Hungari o'r parlys, ac sydd eto yn cael ei ganmol i'r eithaf fel meddyginiaeth rhag y dolur cyndyn hwnw. Gellir cael ei olew gan unrhyw fferyllydd, os na bydd y llysieuyn o hyd llaw, dan yr enw *Oil of Rosemary*; gellir cymeryd o 12 i 15 ddiferyn o'r olew ar gnepyn o siwgr gwyn, nos a boreu; neu hanner dyrnaid o frigau y llysieuyn fel tê, ac yfed cwpanaid o hono dair gwaith y dydd. Byddai yn werth i bob un sydd yn berchen gardd i blanu brigyn neu ddau ynddi; byddai yn dra sier o dyfu, ond ei blanu yn wyneb yr haul, a gofalu bod gwal rhyngddo ag awel y gogledd, a'i blanu ddechreu y gauaf.

## Rhos Profens.—*Provence Rose.*

Nid yw hwn o bwys mawr fel meddyginiaeth.

## Rhos y Ci.—*Dog Rose.*

Mae y llysieuyn hwn o natur rwymawl: defnyddir ef weithiau yn feddyginiaeth, ond nid yn aml.

## Rhuddygl.—*Radish.*

Mae hwn yn blanhigyn adnabyddus. Ceir ef yn tyfu yn wyllt mewn rhai lleoedd, ond plenir a chodir ef yn gyffredin mewn gerddi: tir llaith a chysgodol mae yn fwynhau. Anaml y mae yn blodeuo; ond pan wnelo, mae hyny yn Gorphenaf.

Mae sudd y gwreiddiau ir, gydag ychydig o win gwyn, yn feddyginiaeth nodedig i weithio y graian ymaith. Nid oes braidd ddim yn gweithio yn gyflymach nac yn fwy effeithiol trwy y dwfr, nac yn fwy llwyddianus i symud cerig ymaith o'r bledren.

## Rhuddygl y Meirch.—*Horse Radish.*

Mae y planhigyn hwn mor adnabyddus a'r llall, ac yn lled gyffredin mewn gerddi: tyfa hefyd yn wyllt mewn llawer o leoedd. Mae yn amlhau trwy y gwreiddiau; a'r holl blanhigion a wnant felly, ni ofala natur lawer am eu bod yn hadu.

Mae sudd y gwreiddiau yn gweithio yn nerthol trwy y dwfr; mae yn dda i wella y clefyd melyn a'r dyfrglwyf. Defnyddir y gwreiddiau yn aml i wneuthur diod feddygol, i buro y gwaed; ac mae bwyta cryn lawer o honynt yn fynych gyda chig, yn llesiol neillduol i wella y gewynwst.

## Rhyw, Llysiau yr Echryshaint, Torwenwyn.—*Rue.*

Mae hwn yn adnabyddus: er na raid ei ddesgrifio, mae mor werthfawr fel y rhaid manylu ar ei rinweddau. Mae i'w ddefnyddio yn ir, a'r impiau ieuainc sydd fwyaf rhinweddol. Gellir gwneuthur tê o honynt, neu gellir eu hysigo a'u gwneuthur yn bereiddfwyd, ond rhoi atynt eu pwys dair gwaith o siwgr, ac yna bwyta ychydig o hono. Mae yn feddyginiaeth ragorol mewn twymynon; mae yn codi yr

ysbryd, yn agor y chwysdyllau, ac felly yn gweithio allan afiechyd ; iacha poen yn y pen, a phob math o glefydau gewynol a achoser gan dwymynon ; cryfha y cylla a'r ymysgaroedd. Mae ei flas yn hyfryd, a byddai yn llesiol i bobl dueddol i lewygon ei gymeryd yn aml.

Mae ei drwyth yn nerthol i weithio trwy y dwfr, a gwna symud ymaith effeithiau gwenwyn ; mae yn dda i laesu poen yn y ddwyfron a'r ochrau, i wella peswch, rhwyddhau yr anadl, dofi poethder yn yr ysgyfaint, ac esmwytho poen yn y cymalau, ond golchi y lle dolurus ag ef. Mae yn nodedig hefyd i wasgaru gwynt, a lladd llyngyr. Ond ei ysigo a'i roi yn y ffroenau, gwna attal y trwyn i waedu. Gwna y sudd les mawr i oeri Tân Iddwf, iachau archollion yn y pen, a manau ereill, ond eneinio y lle dolurus ag ef. Gan ei fod yn llysieuyn cryf iawn, dylid peidio cymeryd dognau mawrion o hono, a pheidio ei gymeryd yn aml iawn.

## Seads.—*Sage.*

Mae amrywiol fathau o'r llysieuyn hwn ; mae rhai llysieuwyr yn cyfrif yn agos i dri chant o wahanol fathau o hono. Mae y Seads yn gwahaniaethu rhyw gymaint yn mhob gwlad. Maent yn tyfu mewn rhai gwledydd i faintioli anferthol, ddeuddeg neu bymtheg troedfedd o uchder. Mae Seads Peru yn tyfu i ugain troedfedd o uchder, a'u blodau yn chwech neu wyth modfedd o hyd ; byddai gweled Seads o faintioli y rhai hyn yn syndod i ni, ond ni welir eu bath yn y wlad hon. Ni chedwir yn ein gerddi ni, yn gyffredin, ond dau fath, sef y rhai llwydion a'r rhai cochion ; y rhai cochion yw y rhai goreu : gwna dail y rhai cochion dê hyfryd i'r archwaeth, ac anghydmarol ei rinwedd. Mae y Chineaid yn arfer ei yfed yn lle eu dail tê hwy, ac mor hoff o hono, fel y rhoddant bedwar pwys o'u tê hwy am un pwys o ddail Seads. Bu y *Dutch* yn gwneuthur masnach mawr â hwy trwy roddi un tê yn mhen y llall.

Mae tê Seads yn rhagorol o dda i buro y gwaed. Mae yn chwysawl, yn ddyfrawl, ac yn gryfhaol ; a thrwy ei fod yn cynhyrfu y dwfr, ac yn agor chwysdyllau y croen, mae yn gwella y gwaed, ac yn ei wneyd yn fwy cymwys i borthi y corph. Mae yn cynhyrfu y cylla i dreulio y bwyd. Fel

cordial mae yn dda yn holl anhwylderau y gewynau, cryniadau yr aelodau, y parlys, a'r *apoplexy*, ysgafnder yn y pen, diffyg anadl, a phangau y famwst. Mae yn hynod rhag y graian a'r gareg; yn elirio ymaith yr holl rwystrau yn ffordd y dwfr. Mae ei holl rinweddau yn rhy aml i'w henwi.

## Saffyr, Saffrwm.—*Saffron, Crocus.*

Llysieuyn prydferth, ond ddim yn hawdd i'w gael; tyfa mewn rhai meusydd: mae ei ffrwyth yn werthfawr iawn. Blodau o liw melyn tywyll sydd iddo: ymddangosant yn yr Hydref, ond nid ymddengys y dail nes i'r blodau syrthio. Daw allan fath o edafedd, tair mewn rhifedi, o liw ysgarlad, o ganol y blodeuyn, a blaenau melynion iddynt. Ni ddefnyddir o'r llysieuyn hwn ond y rhai hyn yn unig; a gelwir hwynt Saffyr. Tynir hwynt allan yn ofalus, gwesgir hwynt yn deisenau, y rhai a ddefnyddir weithiau fel eysurlyn *(cordial)*.

## Saffyr y Gweunydd.—*Meadow-Saffron, Colchicum.*

Mae ei wreiddyn yn dalpiog, y eroen yn dywyll: adnewyddir y talpau hyn bob blwyddyn. Tyr y blodau allan yn yr Hydref; a ehodant ar bibellau meinion hirion, tua phedair modfedd o uchder o'r gwraidd: mae y pibellau hyn yn eu ffurf yn debyg i eiddo y Saffrwm arall, ond yn fwy; ac mae rhif y blodau, yn gyffredin, yn ateb i faint y gwreiddiau, o ddau i saith neu wyth. Mae ei ddail yn wyrddion, tua phedair o rif, y rhai a ymddangosant yn Mawrth. Gorweddant, fynychaf, y naill ar y llall, yn agored ar y llawr, yn groes i'w gilydd; maent tua phump neu chwech modfedd o hyd pan yn eu llawn faint. Daw llestri yr hadau allan yn mysg y dail yn Ebrill, ae addfeda yr hadau yn Mai, yn fuan wedi hyny gwywa y dail. Buwyd yn hir yn meddwl fod y llysieuyn hwn yn wenwynllyd; ond yn awr bernir ei fod yn werthfawr iawn fel meddyginiaeth. Ond ei fwydo mewn finegr ceir *syrup* gwerthfawr, ond eymysgu yehydig o siwgr ag ef, at esmwytho peswch, a rhwyddhau rhediad y dwfr. Dylid bod yn ochelgar wrth ei ddefnyddio, gan ei fod yn gryf iawn; mae yn rhagorol o dda i rwyddhau rhediad y

dwfr, a dofi y graianwst. Wedi eu malurio yn fân y mae oreu defnyddio y dail; a dylid yfed heiddwy *(barley water)* yn helaeth gyda hwynt.

## Sawdl y Crydd.—*Good King Henry.*

Mae y llysieuyn hwn i'w weled yn gyffredin o gylch tai ffermydd, yn tyfu yn mysg Tafol, ac nid yw, mewn gwirionedd, ond math o Dafol. Mae hefyd yn cael ei gadw mewn gerddi gan rai. Mae ei ddail yn dyner, llydain, a thriongog fel calon: a llwyn o gyrs cryfion crynion, yn eu lledorwedd, yn tyfu oddiar y gwreiddyn, a'r un fath ddail ar hydddynt, yn las ar eu gwyneb uchaf, ac yn fwy llwyd yr ochr isaf. Mae eu blodau yn fychain, yr un lliw a'r cyrs, a llawer iawn o hadau yn dyfod ar eu hol yn dywysenau fel Tafol.

Mae llawer iawn o ganmoliaeth i'r llysieuyn hwn, fel meddyginiaeth rymus rhag y graian a'r gareg; mae yn oeri ac yn tyneru, ac yn elio pibellau y dwfr, pan wedi cael eu clwyfo gan raian llym, pigog, ac yn nerthu natur i'w gwaredu. Mae trwyth o'r llysieuyn hwn yn rhwyddhau rhediad y dwfr yn raddol, ac yn dda hynod rhag bolrwymedd. Mae Sawdl y Crydd, a Dail y Feddalai *(Mallows)*, yn agos o'r un natur, a gellir eu cymysgu a'u gilydd mewn isgell, neu mewn trwyth i fwydo unrhyw chwydd caled ac ysigiadau. Mae yn hollol ddiberygl, a gellwch fod yn eofn arno.

## Sebonllys.—*Soap-wort.*

Planhigyn gwyllt yw hwn, ond nid yw yn gyffredin. Lleda y gwreiddyn gryn lawer dan wyneb y tir, ac mae ynddo lawer o gymalau; mae yn llwyd oddiallan, a gwyn o fewn, a'i flas yn anhyfryd. Mae yn bwrw allan yma a thraw amrywiol o gyrs gweinion crynion, llawn o gymalau, a dwy ddalen ar bob cymal, y naill ar gyfer y llall; mae y gorsen a'r dail o liw gwyrdd, mae y dail yn hir-grwn, llyfnion, eu hymylau yn gyfain, ac yn llawn asenau. Saif y blodau yn fath o duswau ar flaen y cyrs. Blodau bychain cochwyn sydd iddo. Mae yn tyfu yn wyllt mewn tiroedd llaith ac isel, yn ymyl nentydd, a cherllaw dwfr rhedegog. Blodeua yn gyffredin yn Gorphenaf, ac mae yn parhau trwy Awst a rhan o Medi.

Mae y dail, ond eu hysigo, yn dda i attal rhediad gwaed o archollion yn y bysedd, y dwylaw, neu y coesau, ac i iachau yr archollion. Bernir fod ei drwyth yn rhinweddol i symud y graian a'r gareg, symud rhwystrau o ffordd y dwfr, agor y chwysdyllau, a phuro y gwaed.

## Tafol.—*Dock.*

Y MAE amrywiol fathau o Dafol; ond gan eu bod yn lled debyg i'w gilydd mewn golwg a rhinweddau, ni raid eu gwahaniaethu, ac nid oes angen manylu wrth eu desgrifio.

Eu gwreiddiau ddefnyddir fel meddyginiaeth. Mae eu trwyth yn rhinweddol neillduol i buro y gwaed, ac felly i wella y llwg; attal cyfogiad a phoeri gwaed, cryfhau y cylla, &c.; ond golchi y croen ag ef, gwna ei lanhau oddiwrth bob math o grach, a phob anmhuredd. Mae hadau yr holl fathau yn tueddu i rwymo. Ond, gan fod amrywiaeth mawr o lysiau agos yn mhob cymydogaeth, ag a ellid ddefnyddio i'r un perwyl, efallai gyda mwy o hyfrydwch, ni fanylir ar rinweddau y gwahanol fathau o Dafol.

## Tafol y Dwfr, Suran Hirion.—*Water Dock.*

DYMA y mwyaf o'r holl fathau o Dafol; maent oll yn debyg i'w gilydd yn eu natur. Tyfant yn ymyl dwfr.

Mae trwyth y gwreiddyn yn werthfawr iawn i'w roi mewn diod feddygol: mae yn rhinweddol iawn i wella y llwg. Mae hadau y rhai hyn, ac eiddo y lleill oll, yn rhwymol ac yn llesiol pan fyddo yr ymysgaroedd yn rhyddion.

## Tafod yr Hydd.—*Hart's Tongue.*

PLANHIGYN gwyllt yw hwn. o rywogaeth y Rhedyn. Mae pob dalen a berthyna iddo yn blanhigyn ar ei ben ei hun; ond cyfyd amrywiol o honynt oddiar yr un gwreiddyn. Mae corsen y ddalen yn bum modfedd o hyd, y ddalen yn fodfedd a chwarter o led, yn culhau tua'r blaen, yn gyfan yn gyffredin, ond weithiau yn cael ei bylchu i ddwy neu dair rhan. Mae o liw gwyrdd ar y tu uchaf, rywbeth yn oleuach odditani. Tyfa mewn hen ffynonau, a chloddiau dyfnion a thywyllion, ac mae yn wyrdd trwy yr holl flwyddyn; ond

tyfa dail newydd bob Gwanwyn. Gwneir y gwreiddyn i fyny o amrywiol o linynau duon, megys wedi eu plethu ynghyd.

Ni ddefnyddir ef yn fynych yn feddyginiaeth, ond teilynga sylw mwy, a sicr yw y prisid ef yn uwch pe gwybyddid am ei rinweddau. Mae yn werthfawr at glefydau yr afu ; gwna ei gryfhau pan yn wan, a'i esmwytho pan yn boenus. Doeth fyddai gwneuthur cyffaith o hono i'w gadw trwy y flwyddyn ; o herwydd nid hawdd yw ei gael yn nyfnder y Gauaf.

Mae ychydig o'r sudd neu o'r cyffaith yn effeithiol rhyfeddol, ond ei gymeryd yn rheolaidd dros ychydig o amser, i symud rhwystrau yn y ddueg a'r afu, i ddofi gwres yn yr afu a'r cylla, ac i wella y dolur rhydd ; ac mae wedi ei ddefnyddio yn llwyddianus lawer gwaith i symud hen glefydau ystyfnig a sefydlog.

## Tafod y Neidr.—*Adder or Serpent's Tongue.*

LLYSIEUYN bychan cyffredin yw hwn, yn tyfu mewn tir llaith. Nid oes iddo ond un ddalen, a hono tua hyd bys oddiwrth y ddaear, o liw gwyrdd : oddiwrth waelod yr hon, tu fewn iddi, cyfyd yn gyffredin gorsen fechan wan, weithiau ddwy neu dair ; mae eu blaenau rywbeth yn debyg i dafod neidr. Mae ei ddalen yn werdd a hir grwn ; mae yn drwchus, heb asenau a gwythi. Gwneir y gwreiddyn i fyny o amrywiol o linynau. Gorwedda y llysieuyn hwn yn isel yn mysg y glaswellt, ac nid heb chwilio y ceir ef. Yn Ebrill a Mai mae i'w gael ; mae yn darfod yn fuan wedi hyny.

Gellir gwneuthur enaint gwerthfawr o'r llysieuyn hwn : torer y dail yn ddarnau bychain, cymerer swp o honynt, a'u pwys dair gwaith o *suet*, ac ychydig o olew : berwer y cwbl ynghyd nes byddo y dail wedi crychu ychydig, ac yna hidler y gwlybwr, a cheir enaint gwerthfawr at glwyfau.

## Tansi.—*Tansy.*

MAE trwyth y dail yn îr, yn dda i gynhyrfu y dwfr, puro ymaith lynoedd glydiog ac oerion, a achosir gan auaf llaith. Pe gwnelem yn awr fel y gwnelid gynt, fwyta llawer o honynt yn y Gwanwyn, wedi eu ffrio gydag wyau, caffem well iechyd yn yr Haf. Gwna eu trwyth wasgaru y gwynt o'r cylla a'r ymysgaroedd, a threulio y gareg yn y bledren.

Mae trwyth yr hadau yn beth rhinweddol rhyfeddol i'w roi i blant i ladd llyngyr; mae y sudd mewn gwlybwr, a phowdr yr hadau, wedi eu cymysgu â thriagl, yr un mor rhinweddol: anhawdd cael un feddyginiaeth well.

## Tansi Gwyllt.—*Wild Tansy.*

MAE tê cryf o'r dail yn effeithiol iawn i wella clwyf y marchogion, a charthiadau gwaedlyd; ychydig yn wanach, ac wedi ei felusu â mêl, mae yn beth rhagorol i wella gwddf dolurus. Ond rhoi ychydig o finegr am ben y tê, a'i droi yn y genau, gwna iachau archollion a fyddo o'i fewn; mae yn dda i lanhau a gwella clwyfau gwlybion ar unrhyw ran o'r corph. Ond ysigo y llysieuyn, a'i roi wrth wadnau y traed a'r arddyrnau, dywedir y gwna les mawr i ddofi poethder y cryd, pa mor fawr bynag y byddo. Mae trwyth y dail yn dda i symud unrhyw grach a fyddo ar y croen. Gweler ychwaneg am dano dan y gair *Dinllwyd.*

## Tegeirian.—*Orchis.*

LLYSIEUYN prydferth yw hwn, a cheir ef yn gyffredin yn mis Mehefin mewn tiroedd lleithion; mae iddo gorsen sengl syth, gyffelyb i eiddo y Tiwlip, ac o gylch yr un hyd, a thywysen o flodau cochlas. Tyfa ei ddail gan mwyaf oddiar y gwraidd, fel mae y gorsen agos yn noeth. Mae y gwreiddiau yn debyg i wyau bychain. Mae y planhigyn hwn, er ys amser maith, mewn bri mawr fel meddyginiaeth ac fel ymborth, gan hyny gwrteithir ef gyda gofal mawr mewn hinsoddau cynes. Y mae amrywiol fathau o hono yn tyfu yn y wlad hon, megys Tegeirian coch yr haf *(Pyramidal)*; Tegeirian y waen *(Meadow Orchis)*; Tegeirian y gors *(Marsh Orchis)*, &c.

Mae gwreiddiau y Tegeirian yn beth rhagorol iawn i'w defnyddio yn lle *Salep* Persia. Bernir ei fod cystal a hwnw, ond ein bod yn ynfydu ar bethau *tramor*. Mae genym ryw gysur, pa fodd bynag, yn wyneb hyn, fod llawer o bethau ag a *godir yn y wlad hon*, yn cael eu rhoddi yn lle amrywiol o bethau *tramor*. Gwneir *Port Wine* o eirin duon bach *(Sloe)*, a gwneir tê o'u dail. Codir haidd Ffrainc gan dyddynwyr Lloegr, a gwneir *Salep* Persia o wreiddiau

Tegeirian y wlad hon. Amser cynhauaf yw y pryd goreu i godi y gwreiddiau. Yn y tymor hwn mae y gwreiddyn newydd yn llawn a chryf: hwn yn unig ddylid ddefnyddio. Dylid ei olchi yn lân, crafu ymaith ei risgl yn lân â llian garw; yna rhodder ef mewn ffwrn, ac yn mhen ychydig o fynydau daw fel corn. Cadwer ef mewn lle sych dros ychydig o ddyddiau, mor fuan ag y sycho bydd yn barod at wasanaeth. Mae yn fwy meithrinol, fel ymborth, nag un sylwedd llysieuog adnabyddus. Dylai gael ei wrteithio a'i ddefnyddio yn llawer mwy cyffredinol. Dengys hyn fod y gwreiddiau hyn yn ddefnyddiol fel meddyginiaeth. Mae yn dda iawn i grythau y cyfansoddiad. Pan y byddo yr archwaeth yn ddrwg, fel nad allo y claf gymeryd digon o ymborth i gynal natur, rhodder llonaid llwy dê o bowdr y gwreiddiau hyn mewn peint o ddwfr berwedig, cymysger ef yn fywiog, a daw yn fuan yn *jelly*; cymerer llwyaid o hono bob dwy awr. Os na bydd y *jelly* yn hyfryd i'r archwaeth, gellir ei felusu â siwgr. Trueni na byddai y llysieuyn hwn lawer yn fwy adnabyddus.

## Teim.—*Thyme or Time.*

Mae tê y brigau irion yn beth nodedig i wella clefydau yr ysgyfaint, i rwyddhau rhediad yr anadl, i weithio ymaith y llysnafedd glydiog sydd yn ei rwystro, i wella y pâs ar blant, a lladd llyngyr. Gellir gwneuthur enaint nodedig o hono i oeri a gostwng chwydd poeth, i wella pendduod, a dofi poen y gymalwst, a phen y gluniau. Mae tê o hono yn dda iawn i wresogi y cylla, a gwasgaru gwynt.

Bernir fod y Teim Gwyllt (*Mother of Thyme*), yn fwy nerthol i wella clefydau y gewynion. Mae ei drwyth yn effeithiol i gynhyrfu y dwfr i redeg, dofi gloesion yn yr ymysgaroedd, y cwlwm gwythi, fflameg yn yr afu, ac esmwytho peswch a chyfogiad, poen yn y pen, y cylla, a'r arenau, ac i dreulio y gareg yn y bledren.

## Uchelfa, Uchelwydd.—*Mistletoe or Missendine.*

Mae hwn yn blanhigyn rhyfedd, a pherthyna yn naturiol i'n gwlad ni; nid yw yn tyfu o'r ddaear fel planhigion ereill, ond ar gangau coed. Ystyrir fod ei ddail, wedi eu sychu

a'u gwneuthur yn bowdr, yn feddyginiaeth nodedig i wella yr *epilepsy*, ac hefyd i symud ymaith holl glefydau y gewynion, ond ei gymeryd dros ychydig o amser yn olynol. Mae y dail a'r grawn o natur sych a gwresog.

Wrth ddarllen hanes y *Mistletoe*, cyfarfyddir â llawer o ofergoeledd Derwyddol a Phabyddol; er ein cysur, ni wna pobl yr oes hon gredu yr hanner a ddywedir am ei rinweddau.

## Wermod y Mor.—*Sea Wormwood.*

CEIR ef ar forfeydd heilltion, ac yn ymyl cloddiau gwlybion lle y daw dwfr hallt. Mae yn debyg i'r Wermod arall.

Defnyddir blaenau y cyrs yn îr, a'r holl lysieuyn wedi sychu. Gelwir hwn yn y marchnadoedd a'r masnachdai Wermod Rhufain; a defnyddir ef yn lle hwnw, ac y mae yn debyg iddo yn ei rinweddau. Mae Wermod y Gerddi, Wermod Rhufain, a hwn, yn debyg yn eu natur; y blaenaf yw y chwerwaf ei flas. Mae trwyth hwn yn rhinweddol iawn i gryfhau y cylla, i gynorthwyo treuliad bwyd, a gwasgaru gwynt. Rhodder dwfr berwedig arno i fwydo dros noson, ac yna hidler ef. Mae ei drwyth yn nerthol i weithio ymaith lynoedd geriaidd y corph, i gynhyrfu y dwfr i redeg, i attal cyfogiad, i ostwng chwydd yn yr ymysgaroedd, ac i wella y clefyd melyn. Mae yn un o'r llysiau gwerthfawrocaf.

## Winwyn.—*Onions.*

MAE cyffaith wedi ei wneuthur o'u sudd, yn beth rhagorol i wella diffyg anadl. Mae y gwreiddiau hyn yn lled wyntog; tueddant i gryfhau yr archwaeth at fwyd: ond eu rhoi i fwydo dros nos, gwna y dwfr ladd llyngyr mewn plant, ond iddynt yfed ychydig o hono yn wag yn y boreu. Ond eu pobi mewn lludw poeth, eu cymysgu â mêl neu siwgr, a'u bwyta, gwnant les mawr i wella peswch, a thoddi llysnafedd gwydn a glydiog. Ond tynu y sudd i fyny i'r ffroenau, gwna buro ac ysgafnhau y pen; ond dylid gofalu peidio cymeryd llawer o honynt, na'u bwyta yn aml iawn. Mae eu sudd yn rhinweddol i wella llosgiad tân, dwfr, neu bowdr. Ond curo winwyn a ffigysen ynghyd, ceir plastyr rhagorol i'w roi wrth gornwyd, i'w addfedu a'i ddwyn i dori.

## Ysgall.—*Thistles.*

MAE amrywiol fathau o Ysgall. Maent oll yn rhinweddol i gynhyrfu y dwfr i redeg, a charthu pob anmhuredd o'r arenau a'r bledren. Ond eu berwi neu eu mwydo mewn dwfr neu win, ceir trwyth gwerthfawr i buro y gwaed fel na byddo arogl anhyfryd gan y chwys na'r anadl ; gwna hefyd gryfhau y cylla.

## Ysnoden.—*Galingale, Long Cyperus.*

LLYSIEUYN gwyllt, yn tyfu mewn tir llaith a chorsog. Mae y gorsen yn dri onglog, tua throedfedd a hanner o uchder : y dail yn gulion, tua throedfedd o hyd, o liw gwyrdd goleu, a'u blaenau yn feinion. Tyfa y dail o gylch y gorsen ; ond mae dwy neu dair o rai bychain ar flaen y gorsen. Coder y gwraidd yn y Gwanwyn : mae iddo arogl hyfryd, ac mae ei drwyth yn rhinweddol iawn i wella poen yn y pen, a chynhyrfu y dwfr.

# ATTODIAD.

ARWYDDION AMRYWIOL O'R CLEFYDAU MWYAF CYFFREDIN, A CHYFARWYDDIADAU I'W MEDDYGINIAETHU.

---

## Anwyd.—*Colds.*

YR arwyddion :—Cyfyngder yn y ddwyfron, tyndra yn y ffroenau, y croen yn sych a garw, blinder ac ystyffdra yn yr aelodau, poen ffyrnig yn y pen, ac weithiau trwy yr holl gymalau. Y feddyginiaeth :—Ymgedwch oddiwrth eich bwydydd arferol ; rhoddwch eich traed mewn dwfr cynes a bran ynddo ; rhwbiwch hwy yn dda, a sychwch hwy yn galed â lliain garw, ac ewch i'r gwely yn uniongyrchol ; mynwch ddigon o ddillad arnoch, ac yfwch dê un neu ychwaneg o'r llysiau canlynol yn gynes :—Eiddew'r ddaear, Chwerwlys, dail Blodau'r gwenyn, Seads gwylltion, Llysiau'r Angel : neu mynwch chwart o Laeth Enwyn ; berwch ef, rhoddwch lonaid llwy bwrdd o siwgr ynddo, a chryn dipyn o bybyr. Yfwch y cwbl, gorweddwch yn y gwely yn ddioed, a byddwch yn debyg iawn i chwysu. Os cewch chwysu yn fuan, nid oes perygl.

## Poen yn y Pen.

ARWYDDION :—Y wyneb yn wridgoch, y llygaid yn dysgleirio, swn yn y clustiau, curo yn yr arleisiau, a phoen yn ngwreiddiau y llygaid. Y feddyginiaeth :—Cymerwch ryw gyffyr rhydd-haol a weithio yn chwyrn ; *Epsom Salts*, neu ryw beleni i'r un perwyl, neu cymerwch wraidd *Rhubarb*, gwraidd Tafol blaenfeinion, a Llîn y mynydd : ar ol agor y corph yn dda, yfwch dê un, neu ychwaneg, o'r llysiau canlynol :—Llysiau Cadwgan, Rhosmair, Cribau St. Ffraid, Seads, dail Blodau'r gwenyn, dros dymor.

## Gwallgofrwydd.

YR arwyddion :—Twymyn trwy yr holl gorph, y cwsg wedi

cilio, ac os cysga y claf, buan y deffry mewn dychrynfeydd arswydus, y llygaid yn gochion, a'r claf yn eu rhwbio yn aml, y tafod yn sych a garw, gwaed yn dyfod allan o'r ffroenau, y dyoddefydd yn edrych yn wyllt, yn ymaflyd yn ffyrnig yn nillad y gwely, weithiau yn chwerthin, weithiau yn wylo, yn gwaeddi am gael myned i lawr o'r gwely, ac at ei waith, ac mor afreolus fel mae digon o waith i ddau neu dri yw ei ddal yn y gwely: dywed eiriau drwg a chwerw yn fynych, a phoera yn wyneb ei ffryndiau goreu; mae yn hollol amddifad o'i reswm. Meddyginiaeth :—Rhaid cael meddyg cyfarwydd mor gynted ag y gellir; bydd yma ddigon o waith iddo. Y llysiau goreu yw y rhai canlynol :—Llysiau'r cwsg, a Lettuce. Cofiwch mai mewn rhyddhau y corph, gwaedu a gwlychu y pen yn barhaus â dwfr oer a finegr, mae y pwys mwyaf. Os na ellir llwyddo i droi y fflameg oddiar yr ymenydd yn dra buan, bydd pob ymdrech yn ofer.

## Y Parlys.—*Palsy*.

ARWYDDION :—Mae yn hawdd adnabod y clefyd hwn, trwy fod y llaw, y fraich, y glun, neu y tafod, lle y byddo, yn cael ei ymddifadu o bob teimlad, ysgogiad a nerth; pan y byddo yn y galon, yr afu, yr ysgyfaint, neu unrhyw ran hanfodol i fywyd, y mae yn farwol; pa fwyaf pwysig i fywyd y byddo y rhan, mwyaf peryglus ydyw. Meddyginiaeth :—Rhaid cael meddyg at y clefyd hwn eto, yn enwedig os bydd y dyoddefydd yn ieuanc, gan y bydd eisiau agor y corph trwy *glysters*, neu gyffyr rhyddhaol, gwaedu, a chwysigenu. Mae y llysiau canlynol yn anghydmarol dda :—Lafant, Llysiau Cadwgan, y dôt a'r gwyllt, ond gwraidd yr un gwyllt sydd oreu; Seads, Dail y Dewbanog, Dail blodau y gwenyn; cymered y dyoddefydd ddeugain diferyn o *Compound Spirits of Lavender*, mewn llonaid cwpan tê o isgell cryf rhai o'r llysiau uchod, dair gwaith y dydd, a bydd yn llawer gwell. Mae cymeryd llonaid llwy fwrdd o had mwstard gwyn bob dydd, yn rhagorol dda rhag y dolur hwn; ond rhaid i chwi gael y *spirits* a'r hadau gan y Fferyllydd.

## Y Parlys Mud.—*Apoplexy*.

ARWYDDION :—Rhagflaenoriaid y clefyd hwn ydynt, poen

llym yn y pen, y bendro, y gwythienau o dan y clustiau yn chwyddo, marweidd-dra, a chysgadrwydd trwy yr holl gorph, a'r rhanau pellaf yn oeri, anadlu gydag anhawsdra mawr, ac yn y diwedd yr anadl yn cael ei golli yn lân, a phob arwyddion o fywyd yn diengyd. Meddyginiaeth:—Yr oedd yr hen feddygon yn barnu y fath waethaf o'r clefyd hwn yn anfeddyginiaethol, a'r fath ysgafnaf o hono yn anhawdd iawn i'w iachau. Y peth goreu yw gyru am y meddyg goreu yn ddioed; fe fydd yma lawer o waith chwysu cyn adferu bywyd, a gwneyd y dyn yn alluog i gymeryd un feddyginiaeth: os dihuna y dyoddefydd, bydd tê cryf o'r llysiau canlynol yn dda iddo:—Uchelwydd y Derw, gwraidd Blodau y Brenin, Cribau St. Ffraid, Seads, Llysiau St. Ioan, Marjoram, a Had Annis, Ffunel, Garddwy, a Gronynau Paradwys, &c.

## Y Cwlwm Gwythi a'r Dirdyniadau.—*Cramp and Convulsions.*

Yr hyn a achosir gan lysnafedd dyfrllyd yn llenwi y gewyn, ac yn ei chwyddo, ac felly yn ei fyrhau. Arwyddion:—Cwlwm caled i'w deimlo ar y gewyn, a phoen mawr, a'r aelod yn colli ei grym. Mae y dirdyniadau rywbeth yn wahanol i'r cwlwm gwythi: plant yn benaf ydynt ddeiliaid yr anhwyldeb hwn. Ei brif achosion ydynt llysnafedd tew, gwydn, yn glynu yn yr ymysgaroedd. weithiau byddant yn ymosod ar blentyn pan y byddo ei ddannedd yn tori allan, bryd arall byddant yn rhagflaenoriaid clefydau ereill, megys y frech goch, y frech wen, a'r llyngyr; weithiau bydd rhwymo y plentyn yn rhy dýn yn eu hachosi. Arwyddion:—Y plentyn yn nychu ac yn cordeddu, ei lygaid ar y gwrthwyneb, ei fin ar gam, a'r holl wyneb yn cael ei anffurfio. Y feddyginiaeth:—Os y dannedd, y frech goch, neu'r frech wen, yw'r achos, nid oes eisiau ond i'r dannedd neu'r frech dori allan, ac yna ymadawa y dirdyniadau; ond os na bydd un arwydd eu bod yn myned i'r frech, ac os byddant wedi cael dannedd, gellir barnu eu bod yn cael eu hachosi gan rywbeth arall. Os bydd y plentyn mewn maint i gymeryd rhywbeth, cymysgwch *Rhubarb a Magnesia;* yr un faint o bob un, a rhoddwch lonaid llwy dê

iddo yn awr ac eilwaith, hyd oni weithio; neu rhoddwch dê, un neu ychwaneg, o'r llysiau canlynol:—Cribau St. Ffraid, Mintys y Gath, Dail y Dewbanog, Llysiau Cadwgan, a Chwerwlys. Os na bydd llysiau yn gyfleus, rhoddwch o bedwar i ddeg diferyn, yn ol oedran a grym y plentyn, mewn dwfr, ddwy neu dair gwaith y dydd, o *Tincture of Assafœtida*, neu *Tincture of Castor.* Maent i'w cael gan y Fferyllydd.

Blinir dynion mewn oed hefyd gan y dolur poenus hwn, ac mae yn nghrothau y coesau yn beth poenus iawn. Pan deimlir ef, estyner y sawdl allan gymaint ag a ellir, gan dynu y bysedd i'r lan at y corph. Mae rhwymo gardus *(garter)* yn lled dyn am y goes yn ei esmwytho. Os bydd yn gyndyn iawn, rhodder priddlaen cynes, wedi ei throi mewn gwlanen, wrth y troed. Gwell na'r cwbl yw puro y gwaed.

## Y Llygaid.

MAE amrywiol o anhwylderau yn perthyn i'r llygaid, megys y *fflameg*, yr hon a achosir gan ormodedd o waed, a hylif drwg yn llenwi y pen; ond achosir yr anhwyldeb fynychaf gan bethau allanol, megys ergydion, llwch, pryfed bychain yn myned i'r llygaid; weithiau mae bol-rwymedd yn achos o hono, neu sychu hen glwyfau ar y coesau, &c., y chwysdyllau yn cau yn ddisymwth, gwynt oer y gogledd, a cherdded llawer y nos; chwysu llawer ac oeri yn sydyn, edrych ar ryw wrthrychau tanbaid, megys eira; syllu ar yr haul, neu fflam o dân wrth drwyn y fegin neu yn y ffwrnes, a darllen neu ysgrifenu llawer wrth oleu canwyll: rhaid cofio gyda hyn bod llygaid rhai yn naturiol yn wanach na'u gilydd. Hefyd, mae pob math o fwg yn ddrwg i'r llygaid; ond nid oes braidd ddim cynddrwg ag yfed gwirodydd poethion; ac mae cwrw o bob math i'w ochelyd: cofied y rhai a fynant gadw y llygaid, ymgadw rhag gwin a gwyryfon. Weithiau mae y clefyd hwn yn gydiadol, ac yn ymdaenu trwy y gymydogaeth, a hyny yn gyffredin ar ol tymhor o wlybaniaeth. Arwyddion:—Poen llym, gwres, cochi, a chwydd. Ni all y dioddefydd edrych ar y goleuni; weithiau bydd yn teimlo fel pe byddai ei lygaid yn llawn o ddrain

neu frychau, ac yn gweled miloedd o ednogiaid bychain yn chwareu trwy eu gilydd o'i flaen. Mae y llygaid yn llawn dwfr poeth, yn llifo allan pan elo i syllu ar rywbeth; mae y pwls yn gyflym a chryf, y corph yn wresog, cylch y llygaid yn chwyddo, a churo ffyrnig yn yr arleisiau. Meddyginiaeth :—Iacheir fflameg ysgafn wrth gymeryd dogn neu ddau o *Epsom Salts*, a golchi y llygaid a'r arleisiau bob boreu yn dda â dwfr ffynon oer a finegr cryf, yr un faint o bob un; ac yfed té y Dorfagl a Llydain y ffordd yn helaeth bob dydd, dros dymor. Ond weithiau mae y fflameg mor ffyrnig nes gadael brychau ar ei hol ar y ganwyll, ac weithiau bilen drosti oll, ac felly yn achosi dallineb. Cofied y dioddefydd y rhaid iddo ochelyd yr achos; peidio syllu ar oleuni tanbaid, gwisgo sidan gwyrdd dros ei lygaid, cilio o bob mwg, ac aros yn llonydd. Peidiwch rhoddi yn eich llygaid bob math o eli a dwfr llygaid y clywoch son am dano. Byddai gwaedu yn dda, neu rhoddi gelëod wrth yr arleisiau, a mwydo y tyllau yn dda â dwfr cynes, i beri iddynt waedu: mae chwysigenu yr arleisiau a thu ol i'r clustiau yn dda. Mae rhoddi llinyn sidan rhwng y ddwy ysgwydd, dan y croen, a gosod ychydig o *Yellow Basilicon* ar y llinyn bob dydd wrth ei symud, wedi bod yn llwyddianus i wellhau *dallineb*, ond ei adael yno dros rai wythnosau.

*Os bydd pilen ar y llygad*, rhoddwch ddau neu dri diferyn o sudd Llym y Llygad ynddo bob dydd: os byddwch yn ei deimlo yn llosgi gormod, rhoddwch ynddo ychydig ddiferynau o laeth gwraig, a chymysgwch ef am ben y sudd cyn ei roddi yn y llygad. *I ddifa y bilen*, pwywch ddyrnaid o Lysiau y Pumbys, ac ychydig o *Bay Salt*, a rhoddwch wrth yr arddwrn croes i'r llygaid dolurus, a newidiwch ef bob dydd dros dri neu bedwar diwrnod. Difaodd hyn bilen ar lygaid llaweroedd. Mae y tê canlynol yn dda i gryfhau y llygaid, i garthu a glanhau y pen oddiwrth hylif drwg :—Cribau St. Ffraid, Llysiau yr Hudol, y Dorfagl, Dail Blodau y Gwenyn, dyrnaid o bob un; hanner dyrnaid o Llym y Llygaid, a llwyaid dda o had Garddwy. Rhoddwch ddau chwart o ddwfr berwedig arnynt; pan oero, hidlwch a chostrelwch ef, cedwch ef mewn lle oer, ac yfwch hanner peint mewn ysbaid diwrnod; os byddwch yn weddol gryf, gellwch yfed tri hanner peint y dydd.

## Poen llym yn y Glust.

Achosir hwn weithiau gan oerfel ac anwyd, myned allan i'r awyr oer pan y byddo yr arleisiau a'r pen yn chwysu; bryd arall achosir ef gan bryfed yn y glust, neu fân raian. Os gellwch ddeall fod pryfyn yn y glust, rhoddwch ddau neu dri diferyn o *oil of Sweet Almonds* neu *oil Olive* ynddo, ac ar ol hyny cymerwch ychydig drewlwch, neu rywbeth arall a baro i chwi disian; hyn yn gyffredin a bair i'r bryfyn ddyfod allan; ond os na ddaw hyn ag ef allan, rhaid ei dynu allan ag offeryn cymwys. Os bydd y poen wedi ei achosi gan anwyd, rhaid i chwi gymeryd dogn neu ddau o ryw gyffyr rhyddhaol; berwi dail y Feddalai, blodau Camri, a blaenau Rhosmair; wedi eu berwi dros ddeg nen bymtheg mynyd ynghyd, rhoddwch y cwbl mewn ysten, a rhoddwch eich clust ar wyneb yr ysten, a thaflwch ryw ddilledyn dros eich pen; aroswch yn llonydd uwch ben yr ysten hyd oni chwysoch yn dda; trowch wlanen gynes am eich pen, ac ewch i'r gwely: gwisgwch wlan *du* yn eich clust dros ddiwrnodau.

## Syfrdandod yn y Clustiau a Chlyw Trwm.

Wrth fyned i'r gwely, rhoddwch ddau neu dri diferyn o *oil of Sweet Almonds*, os bydd i'w gael, yn eich clust, ac onide rhoddwch yr un faint o'ch dwfr eich hun, a llenwch eich clust â gwlan du. Dranoeth cymerwch ddwfr claiar a sebon, a cheisiwch gan ryw gyfaill chwistrellu eich clustiau yn dda, i gael y cŵyr allan o honynt. Os na bydd chwistrell blwm o hyd cyrhaedd i chwi, gellwch wneyd un eich hunan yn llawn cystal, o bren Ysgaw: ar ol chwistrellu, gwisgwch wlan du yn eich clustiau dros wythnosau, ac yfwch yn helaeth o dê y llysiau canlynol:—Eiddew'r Ddaear, Cribau St. Ffraid, dail blodau'r Gwenyn, y Fyddarllys, Rhosmair, a Seads, yr un faint o bob un. *Rhag poen llym*, rhoddwch yr un faint o *oil of Cloves* ac *oil of Almonds* am ben eu gilydd; rhoddwch ychydig ddiferynau yn y glust y byddo y poen.

*I ladd pob math o bryfed*, rhoddwch sudd Rhyw neu chwerwlys yn y glust y byddo y chwilen.

*Rhag byddardod.* Gwnewch gwdyn bychan fel bys maneg; ond rhaid i chwi ofalu fod un pen mor feined ag yr

elo i waelod y glust; cymerwch ewin Garllegyn, a phobwch ef nes y' byddo yn feddal; rhoddwch ef mewn llwy, rhoddwch ato ychydig *Saffron*, ac ychydig ddiferynau o *oil of Sweet Almonds;* cymysgwch hwy yn dda, a rhoddwch hwy yn ngwaelod y cwd; cylymwch a rhoddwch ef yn ngwaelod y glust, cylymwch eich pen â napcyn, a gorweddwch ar yr ochr arall. Tynwch ef ymaith dranoeth, a rhoddwch wlan du yn eich clust: cofiwch roddi gwlan y byddo saim y ddafad ynddo. Teflwch yr hen *drugs* ymaith, rhoddwch foddion *fresh* yn y cwd, gosodwch ef yn y glust fel o'r blaen, a gwnewch yr un modd dranoeth a thradwy, y gwlan du yn y boreu, a'r cwd y nos. Byddai yn dda hefyd eneinio y tu ol i'r clustiau ag *oil of Lilies.* Cofiwch er dim ymgadw rhag anwyd tra fyddoch dan yr oruchwyliaeth hon: cedwch eich traed yn sych, eich cefn, eich pen, a'ch gwddf, rhag oerfel.

Pan fyddoch yn meddyginiaethu y clustiau, cofiwch yr ychydig reolau a ganlyn: 1. Rhoddwch bob cyffyr yn glaiar yn y glust, yr un naws â'r gwaed; pethau rhy oer, a phethau rhy frwd, ydynt niweidiol iawn i'r glust. 2. Peidiwch diferu ddwywaith o'r bron i'r glust, heb olchi y feddyginiaeth gyntaf allan yn llwyr. 3. Cofiwch fod tri neu bedwar diferyn, o bellaf, yn ddigon ar unwaith: gwna ychwaneg niwed. 4. Rhaid gorwedd yn y gwely ar y glust iach, wrth roddi moddion yn y llall, a chwareu eich gên fel pe byddech yn cnoi bwyd, i'r cyffeiriau gael chwareu teg i fyned i waelod y glust.

## Y Ffroenau.

Peth pwysig mewn cysylltiad â'r ffroenau yw gwaedrediad, ond mae hyn nid yn unig yn glefyd, ond yn feddyginiaeth rhag clefydau; pan byddo llestri y pen yn orlawn o waed, neu pan bo clefydau cysglyd yn ymaflyd yn y dyn, megis gorphwylldra, penwandod, &c., ni ddylid cynyg attal y gwaed er dim, oblegyd ffordd yw hon a gymera natur i ddadlwytho ei hun, ac yn y cyfryw glefydau mae yn esmwythad bob amser, ac weithiau yn feddyginiaeth. Mae rhai yn gwaedu o'u ffroenau ar dymhorau pennodol; pe cynygid atal y cyfryw byddai yn niwed, efallai yn angeu iddynt. Dylid ystyried pan y byddo y ffroenau yn gwaedu, pa un ai clefyd yw neu ynte feddyginiaeth. Gellir barnu

wrth gyfansoddiad y dyn : os bydd y dyn yn gryf a llawn o waed, mae llai o berygl ei adael i redeg yn gymedrol ; ond os bydd y trwyn yn gwaedu yn fynych, a'r dyn yn gwanhau ac yn edrych yn welw, dylid arfer moddion i'w atal. Os bydd y pwls yn isel, y gwefusau yn wynion, a'r dyn yn barod i lewygu, rhoddwch ei draed a'i ddwylaw yn ddioed mewn dwfr claiar, o naws llaeth newydd odro ; tra fyddo yn y dwfr, cylymwch ei arduson yn dynach nag arferol ; cylymwch ei freichiau uwchlaw ei ddau benelin, i atal ei waed ; llaeswch y rhwymau yn raddol, fel y byddo y gwaed yn sychu ; ond os na etyl hyn y gwaed, gwlychwch nadd lliain teg mewn *brandy*, sudd Danadl, neu finegr cryf, a rhoddwch ef yn y ffroen. Neu, mwydwch yr wyneb, y talcen, yr arleisiau, y gwddf, a thu ol i'r clustiau, â finegr cryf, ac ychydig ddwfr oer ynddo : daliwch lonaid eich safn, a thynwch beth o hono i'ch ffroenau. Neu, llosgwch *alum*, a malwch ef yn fân, rhoddwch yr un faint o *White Vitriol* neu *Copperas* gwyn, ac ychydig siwgr gwyn ynddo : cymysger a maler hwy yn dda, gwlycher ychydig o nadd lliain mewn gwyn ŵy, trowch ef yn y powdr, a rhoddwch ef yn eich ffroen.

Os byddwch yn cael eich blino yn fynych gan yr anhwyldeb hwn, da fyddai i chwi wneud diod o'r llysiau canlynol :—Milddail, Llydain y ffordd, Pwrs y bugail, Danadl, Cwmffrei, Marchalan, a Sawdl y Crydd, dyrnaid o bob un ; llwyaid neu ddwy o had Garddwy, neu ddyrnaid o asglodion *ginger* ; rhoddwch dri chwart o ddwfr berwedig arnynt ; gadewch ef i sefyll yn agos i'r tân am bedair awr ar hugain, hidlwch a chostrelwch ef. Yfwch beint neu chwaneg bob dydd.

## Dannedd.

Mae dau amser neillduol pan flinir dynion gan eu dannedd, sef pan byddont yn eu cael, a phan byddont yn eu colli ; ond weithiau mae y ddannodd yn ymosod ar ddant pan na fyddo fawr gwaeth, ac nid oes braidd ddim yn fwy poenus na hwn. Cynhyrfir y ddannodd weithiau gan bethau bychain ; ataliad chwys ; ymosoda ar ddyn pan na byddo yn gwybod am un achos. Mae gwisgo dillad ysgafnach nag arferol, eistedd yn ymyl ffenestr heb ddim am y pen, myned i maes i'r awyr agored heb un het ; mae llawer o bethau yn

niweidiol i'r danedd, ac yn raddol yn effeithio y clefyd poenus hwn; megys bwyta bwyd rhy oer neu rhy frwd; mae pob peth melus yn ddrwg iawn i'r dannedd, megys siwgr, *currants*, &c. Nid llawer o bethau sydd yn waeth i'r dannedd na thori cnau. Mae cnoi crystau celyd, pigo y dannedd â phin neu nodwydd, yn ddystryw iddynt, oblegyd trwy hyn mae rhisglyn y dant, yr hwn a elwir *enamel*, yn cael ei dyllu; a phan elo awyr at y dant unwaith, mae yn pydru. Mae y llŵg ar y gorchfanau yn achosi y ddannodd, ac yn pydru yr holl ddannedd. Meddyginiaeth: Mae yn angenrheidiol cymeryd rhyw gyffyr rhyddhaol, a hyny braidd bob amser; gellwch gael digon o beleni at y pwrpas. Ond os bydd yn fwy cyfleus, gellwch gymeryd tê cryf o wraidd Tafol blaenfeinion a Llin y mynydd, a rhoddi gelëod wrth y *gums*: rhoddi eich traed mewn dwfr claiar, a myned i'r gwely i chwysu; pan gyfodoch, yfwch dê Llysiau y gerwyn yn helaeth.

Mae amrywiol o lysiau a gwreiddiau yn dda i'w cnoi, megys gwraidd *Gentian*, Pelydr Yspaen, Llysiau y gerwyn. Mae Dr. Brooks yn dyweyd na welodd efe wraidd Elestr melynion y dwfr braidd erioed yn methu: dywed un arall ei fod wedi ei brofi fil o weithiau, ac na fethodd unwaith. Mae cnoi y Milddail, had Mwstard, *Cloves*, &c., yn dda. Os bydd twll yn y dant, gwnewch belen fechan o Camphir ac Opium, yr un faint o bob un, a rhowch yn y dant. Neu llenwch y twll â chŵyr gwenwyn, gwna hyny les. Neu ewch at y fferyllydd, a cheisiwch hanner *dram o essence of tar;* dodwch ddau neu dri diferyn ar nadd lliain, a rhoddwch yn y twll. Neu, ceisiwch gan y fferyllydd y pethau canlynol:—*Oil of Cloves, half a dram; spirits of wine, two scruples; tincture of opium, thirty drops; camphor, twelve grains, mixed.* Rhoddwch ddau neu dri diferyn ar nadd llian, a rhoddwch ef yn y twll fel o'r blaen. Mae hyn wedi rhoi esmwythdra i gannoedd. Os na wna dim esmwythau y poen, rhaid tynu y dant. I wneud hyn, ewch at ryw feddyg cyfarwydd sydd yn gwybod am gyflead y dannedd, rhag i chwi gael niwed.

At barhau y dannedd, da fyddai eu golchi yn fynych â dwfr oer a rhygl bychan, i'r dyben i symud ymaith y *tartar* oddiarnynt. Os byddwch am ddefnyddio rhyw bowdr i

lanhau y dannedd, cymerwch yr un canlynol, ni chewch ei well am arian :—Llosgwch bren Helygen yn y tân hyd oni byddo yn goch trwyddo, a gadewch ef i oeri ; chwythwch y lludw oddiarno, maluriwch ef mor fân ag y galloch ; cedwch y powdr hwn mewn costrel wydr, a *chorciwch* hi yn dŷn ; a phan y byddoch am ei ddefnyddio, arllwyswch gymaint ag a fyddo eisiau allan, a gofalwch am osod y *cork* yn ol yn ddioed, fel nad elo yr awyr ato. Trwy gymorth rhygl bychan, dwfr oer, a'ch llaw chwithau, gellwch wneud eich dannedd mor wyn a'r eira yn Salmon. Gall sebon wynu y dannedd, ond gwna ddinystrio yr *enamel*.

## Tic Doloureux

SYDD glefyd tebyg i'r ddannodd, ond ei fod yn fwy anoddefol. Mae poen y ddannodd yn ddwfn yn y ddanedd a'r esgyrn ; ond mae y Tic Doloureux yn arwynebol dan y croen, yn dechreu tua chymal asgwrn yr ên, ac yn saethu oddiyno dan y croen, fel pe byddai gannoedd o gyllill yn rhwygo i goppa yr ên, y wefus uchaf, y trwyn, weithiau i'r dannedd a'r *gums*, weithiau ar ochr y rudd, ac weithiau saetha y poen i'r glust : tra parhao y mae yn annyoddefol. Anhwyldeb gewynau yr wyneb yw yr achos. Meddyginiaeth :—Os bydd y dyoddefydd yn gryf, byddai gwaedu yn dda ; rhoddi geleod wrth y lle fyddai y ffordd oreu i waedu, a chymeryd dogn neu ddau o ryw gyffyr a weithia y corph yn chwyrn. Yfwch am dymor dê rhisgl Helygen, Seads, a Chribau St. Ffraid ; neu cymerwch *Turkey Rhubarb*, 4 *drams ; Quinine*, 24 *grains ; mix and divide them into* 12 *doses :* cymerwch un bob nos. Mae y dognau uchod yn ddigon i ddyn yn ei gyflawn rym a'i faintioli : rhaid lleihau y dogn yn ol oedran a grym y claf.

## Fflameg yn y Gwddf.—*Quinsy.*

MAE dynion yn cael eu blino gan y clefyd hwn yn y Gauaf a'r Gwanwyn ; mae yn beryglus bob amser, ac yn angeuol weithiau, pan y byddo y dyoddefydd yn ieuanc a llawn o waed. Achosir ef gan anwyd, peidio gwisgo cymaint ag arferol am y gwddf, diosg y napcyn ac agor y crys pan yn gweithio neu yn cerdded, marchogaeth â'r wyneb yn erbyn y

gwynt, yfed dwfr oer pan y byddo y corph yn wresog, neu unrhyw beth a oero y gwddf a'r ddwyfron yn fawr; mae canu, gwaeddi, ac areithio yn uchel, eistedd mewn ystafell gynes, yfed gwirodydd poethion, ysgrechian a gwaeddi yno, a myned allan ganol nos trwy yr awyr oer, wedi ei achosi ganwaith. Hefyd, peth drwg iawn yw eistedd a'r traed a'r dillad yn wlybion, eistedd yn ymyl ffenestr agored, cysgu mewn gwely llaith, a byw mewn ty newydd heb sychu yn drwyadl. Mae llawer wedi ei gael wrth eistedd mewn ystafelloedd y byddo y lloriau newydd eu golchi. Yr arwyddion :—Y gwddf yn cochi ac yn chwyddo, poen mawr wrth lyncu, curiadau y galon yn gyflym a chryf. Pan ollyngir gwaed, ar ol iddo oeri. yn gyffredin, mae arno bilen wen wydn, ac mae y dyoddefydd yn dueddol i boeri llysnafedd; fel y mae y dolur yn cychwyn rhagddo, mae y gwddf yn chwyddo mwy, daw yr anadl yn fwy caethiwus, y llwnc yn ddolurus, y clustiau yn boenus, y llygaid yn gochion, a'r holl wyneb yn chwyddo; y dyoddefydd yn gorfod eistedd i fyny yn syth, a bron mogi bob mynyd; dylyfu gên a thuedd cyfogi, syched didor, a'r hyn a yfir, yn lle myned i'r gwddf, yn dyfod yn ei ol trwy y ffroenau, a'r dyoddefydd, os na cheir *help* yn mogi o eisiau gallu anadlu, neu yn newynu o eisieu gallu cymeryd lluniaeth. Meddyginiaeth: Dylid troi gwlanen gynes am y gwddf, mwydo y traed yn anad dim mewn dwfr cynes, golchi y genau â thê Seads, finegr, ac ychydig fêl, a gwaedu y dyoddefydd dan y tafod ac yn y fraich. Dylid rhoddi iddo ddogn neu ddau o ryw gyffyr rhyddhaol tyner, megys *Rhubarb* ac ychydig o nitr am ei ben, ac eneinio y gwddf â'r enaint canlynol :—*Oil of Olive and spirits of Hartshorn*, *of each one ounce*, *mixed*. Ysgydwch y *bottle* yn dda cyn ei ddefnyddio, a gwisgwch wlanen gynes am eich gwddf: pan gaffoch eich gwddf i agor ychydig, yfwch dê y llysiau canlynol am dymor :— Llydain y ffordd, Dant y Llew, Ffa'r Gors, Dail Gwyddfid, Marchalan, a'r Glaiarllys, ynghyd a llwyaid dda o had Garddwy, gyda dyrnaid o bob un o'r llysiau. Rhoddwch arnynt dri chwart o ddwfr berwedig; gadewch ef i aros ar y pentan dros nos, hidlwch ef dranoeth, a rhoddwch ef mewn costrelau; yfwch hanner peint nos a boreu, ac ymgedwch rhag yr achosion a nodwyd.

## Diffyg Anadl.—*Asthma.*

ACHOSION:—Weithiau mae y clefyd hwn yn genedlaethol, bryd arall achosir ef gan ffurfiad naturiol y ddwyfron. Mae asenau *flat* yn anffatriol i'r ysgyfaint, o herwydd nad ynt yn cael digon o le i gyflawni eu swyddau; weithiau bydd yr achos yn y pibau gwynt, o herwydd eu bod yn rhy gyfyng, ac yn dueddol i chwyddo, a llenwi o lysnafedd. Gweithio mewn awyr afiach, yn enwedig dan y ddaear, llafurwaith caled, megys rhedeg; myg-darthiad y corph yn cael ei attal yn ddisymwth, y frech wen neu frech goch, nwydau afreolaidd megys llid, hiraeth, neu ofn. Arwyddion:—Anadliad byr, cyflym, ac weithiau yr anadl yn gwichian wrth gerdded; weithiau mae y diffyg anadl mor fawr fel mae y dyoddefydd yn gorfod eistedd i fynu yn syth trwy y nos, ac yn ofni y gwely. Nid yw y clefyd hwn bob amser yr un fath: mae yn waeth bob amser ar ol i'r dyoddefydd gael anwyd, gwlychu ei draed, cysgu mewn gwely llaith, neu aros mewn lle gwlyb. Mae y dyoddefydd yn debyg o gael pang ar gyfnewidiad yr hin o fod yn sych ac ysgafn i fod yn niwlog a gwlyb: pan y bo y dyoddefydd yn anesmwyth, yn methu cysgu, cyfyngder yn y ddwyfron, ac anhawsdra mawr i anadlu, yna canlyna gwres a thwymyn, poen yn y pen, saldra, dylyfu gên, pwysau ar yr ais aswy, y galon yn dychlamu, dwfr gloyw yn rhedeg o'r llygaid, a geri yn cael ei gyfogi o'r cylla; y dyoddefydd yn casâu y gwely, ac yn hoffi awyr oer. Mae yr arwyddion hyn yn ddwysach tua'r hwyr.

Meddyginiaeth:—Bwytewch fwyd ysgafn a hawdd ei dreulio; os byddwch yn bwyta cig, berwch ac na phobwch ef: llaeth-fwyd a llysieu-fwyd sydd oreu. Peidiwch ymyraeth â gwirodydd poethion na diodydd brâg ar eich bywyd: cedwch eich cefn rhag oerfel, a'ch traed rhag gwlybaniaeth, trwy wisgo gwlanen gynes ar y croen, ac esgidiau tewion am y traed. Dewiswch awyr sych, a chymerwch ddogn neu ddau o ryw gyffyr rhyddhaol. Weithiau bydd cyfog ei hun yn feddyginiaeth. Neu cymerwch *tincture of Castor, sulphuric Ether, and syrup of Squills, of each half an ounce, mixed.* Cymerwch loniad llwy dê o hono mewn tê Llysiau Cadwgan ac Isop, ddwywaith y dydd. Neu, os byddwch

yn pesychu ac yn taflu llysnafedd gwydn, ac yn methu taflu hanner digon, cymerwch dê y llysiau canlynol:—Gwraidd Marchalan, dail Carn yr Ebol, Gwallt y Forwyn, Llysiau Cadwgan, Isop, Cribau St. Ffraid, y Glafrllys; yr un faint o bob un. Gwnewch dê cryf o honynt, rhoddwch ddigon o fêl ynddo, ac yfwch ef. Mae y peleni canlynol wedi bod yn dda i laweroedd yn y clefyd poenus hwn:—*Gum Assafœtida and gum Ammoniac, of each one dram; oil of Anise*, 30 *drops; mix and divide them into* 24 *pills*; cymerwch ddwy bob nos. Cewch weled amrywiol o lysiau yn y llyfr i'r un perwyl a'r rhai a enwyd, a gellwch wneud prawf o honynt wrth eich ewyllys.

## Yr Eisglwyf.—*Pleurisy.*

Yr Eisglwyf yw enyniad y bilen sydd ar yr asenau a'r ddwyfron oddiamgylch yr ysgyfaint. Achosion:—Anwyd sydyn, gwynt oer y Gogledd, yfed dwfr oer pan byddo y corph yn wresog, cysgu ar y ddaear, aros mewn dillad gwlybion, neidio i'r afon pan mewn chwys, neu ddiosg y dillad pan byddo y corph yn chwysu, ac aros yn yr awyr agored; yfed diodydd meddwol, sychu hen glwyfau yn rhy ebrwydd. Achosir ef weithiau gan redeg, neidio, a chario beichiau trymion. Arwyddion:—Iasau oerion rhwng cig a chroen, cryndod, gwres a syched, poen llym yn un o'r ochrau, weithiau yn cyrhaedd y cefn, asgwrn y ddwyfron, neu yr ysgwyddau. Mae y poen yn fwy bob amser wrth dynu yr anadl i mewn nag wrth ei yru allan. Mae y galon yn curo yn gyflym, y dwfr yn goch, y gwaed yn ddyfrllyd, a philen lwyd, wydn arno ar ol oeri; y poer ar y cyntaf yn deneu, ar ol hyny yn dewach, ac yn y diwedd yn waedlyd.

Meddyginiaeth:—Berwer dyrnaid o frigau Banadl mewn chwart o laeth newydd odro, yfwch ef pan oero; gwaedwch yn y fraich ddehau; yfwch chwart o'r gwlybwr uchod, a gwaedwch eilwaith yn y fraich aswy; hyn yn gyffredin a'i iacha. Ond os byddwch yn teimlo poen yn aros yn yr ochrau, ac anhawsdra i anadlu, cymerwch yr isgell canlynol:—*Seneka Rattle-snake root, two ounces;* cewch ef gan fferyllydd; naddwch ef yn fân â chyllell, rhoddwch ato ddwy lwyaid fawr o had Garddwy, berwch hwynt mewn dau chwart

o ddwfr, hyd oni byddo yn dri pheint; gwnewch hyn mewn llestr cauedig. Yfwch lonaid gwydr gwin o hono dair gwaith y dydd; ond cofiwch gymeryd dogn neu ddau o ryw feddyginiaeth ryddhaol yn gyntaf.

## Enyniad yr Ysgyfaint.—*Inflammation of the Lungs.*

Mae y clefyd hwn yn beryglus iawn, gan fod yr ysgyfaint yn beiriant mor angenrheidiol er cynaliaeth bywyd, ac am fod eu defnydd mor dyner a'u rhanau mor wan. Achosion:—Mae y clefyd hwn weithiau yn wreiddiol, ac weithiau yn achlysurol, yn cael ei achosi gan ryw glefyd arall, megys yr Eisglwyf, neu Enyniad y gwddf. Yr un achosion a'i cynyrcha â'r clefyd blaenorol, megys gorboethi yr ysgyfaint wrth weithio, canu, &c. Arwyddion:—Maent agos yr un â rhai y clefyd blaenorol, ond bod y pwls yn arafach; nid yw poen yr ochrau mor llym, ond bydd y diffyg anadl a chyfyngder y ddwyfron yn fwy. Meddyginiaeth:—Gwna yr un feddyginiaeth y tro i iachau y clefyd hwn ag a nodwyd i iachau yr Eisglwyf. Yfwch gawl dwfr teneu wedi ei felusu â mel. Byddai tê y llysiau canlynol yn dda:—Dail Llydain y Ffordd, Dant y Llew, Eiddew y Ddaear, a Hoccys, yr un faint o bob un: yfwch ddarlwnc da o hono dair gwaith y dydd, a gofalwch beidio myned allan yn ebrwydd i'r awyr oer, rhag i'r clefyd ail gydio, a throi yn ddarfodedigaeth angeuol.

## Darfodedigaeth.—*Consumption.*

Achosion:—Un o brif achosion y clefyd hwn yw awyr drwg: mae awyr oddiar amryw feteloedd yn niweidiol iawn i'r ysgyfaint, oblegyd gwendid eu rhanau a thynerwch eu llestri; nwydau grymus, megys hiraeth a gofid, myfyrdodau rhy ddwysion gyda y celfyddydau neu y gwybodaethau, arllwysiadau mawrion, chwysu yn anghymedrol, a'r clefyd rhyddhaol. Priodi yn ieuanc, ac felly gwanhau y cyfansoddiad yn anystyriol, a'i ddarostwng i afaelion y clefyd arswydus hwn. Ni ddylai personau gweinion, a thueddol iddo, briodi oll. Mae cannoedd felly wedi dinystrio eu hiechyd, a throsglwyddo y clefyd hwn i'w hiliogaeth. Mae roddi sugyn yn rhy hir wedi ei achosi filoedd o weithiau mewn mamau

gwanllyd. Weithiau mae rhyw lifiadau yn attal yn sydyn, y corph yn rhwymo, attaliad chwys y traed neu hylif y trwyn, y mislif, a hen glwyfau; anwyd, traed a dillad gwlybion, gwylied y nos, diotta, meddwi a chysgu allan, yn rhoddi dynion yn aberth i'r clefyd angeuol hwn. Weithiau ymafla y darfodedigaeth yn y cyfansoddiad iachaf wrth gysgu gyda dyn ag a fyddo yn llawn o hono. Mae rhyw fathau o'r clefyd hwn agos mor gydiadol a'r pla. Mae pob galwedigaeth ag y byddo y celfyddydwr yn pwyso ar ei ddwyfron, yn sicr o fod yn niweidiol i'r ysgyfaint; chwythu mewn pibau, canu yn uchel, cerdded llawer allan y nos, sefyll mewn dillad gwlybion wedi i'r corph dwymo. Mae gwelyau llaith wedi dystrywio miloedd. Weithiau mae y clefyd hwn yn genedlaethol, ac yn berthynas agos i glefyd y brenin. Arwyddion:—Peswch byr a sych, weithiau yn parhau am fisoedd; ac os bydd y peswch yn annog cyfogi ar ol bwyta, sicr yw fod y darfodedigaeth wedi dechreu: gwres mwy na chyffredin yn y corph, gwasgfa a chyfyngder yn y ddwyfron, y poer yn hallt, a rhyw edafedd gwaedlyd ynddo; y dyoddefydd yn pruddhau, yr archwaeth at fwyd yn lleihau, y syched yn cynyddu, a'r pwls fynychaf yn gyflym ond gwan. Ar ol hyn â y dyoddefydd i daflu mwy i fyny, a'r sylwedd weithiau yn wyrdd, yn wyn, ac yn gymysgedig â gwaed; iasau poethion ac oerion, bob yn ail. Y dyoddefydd yn anwydog tua'r prydnawnau, ac yn chwyslyd tua'r boreu, yn gyffredin; y corph yn rhydd, ac weithiau bydd y dyoddefydd yn gwneuthur mwy o ddwfr nag arferol, a hwnw o liw coch uchel, ac ewyn yn nofio ar ei wyneb; cledr y dwylaw yn wresog iawn, gwres mawr yn yr wyneb, yn enwedig ar ol bwyta; y bysedd yn feinion, y cymalau yn pantu, a'r gwallt yn syrthio. Yr arwyddion diweddaf yw y traed a'r coesau yn chwyddo, nerth y corph yn pallu, y llygaid yn soddi yn ddwfn i'r pen, y claf yn y diwedd yn methu llyncu y diferyn gwin; rhanau pellaf y corph yn oeri ac yn styffu, chwys oer yn treiglo ar yr arleisiau, y llygaid yn pylu, y parabl yn pallu, pob cydnabyddiaeth ddaearol yn cael ei cholli, yr anadl yn dianc.

Meddyginiaeth:—Mae rhywbeth yn hudolus yn y clefyd hwn: mae y claf yn credu ei fod yn gwella bob dydd hyd y diwedd, a hyny oblegyd natur y clefyd. Pan y byddo y

cornwydon yn casglu, mae yr ysgyfaint yn gorboethi ac yn chwyddo, a'r dyoddefydd yn teimlo poen mawr yn yr ochr aswy, diffyg anadl, a chyfyngder mawr. Pryd hyn mae y claf yn bryderus iawn am ei fywyd; ac yna mae y cornwydon yn addfedu ac yn tori allan, ac yntau yn taflu y crawn i fyny. Pryd hyn mae y gwres yn oeri, y cyfansoddiad yn llonyddu, a'r poen a'r cyfyngder yn ysgafnhau i raddau; yna mae y dyoddefydd, druan, yn benderfynol ei fod yn gwella yn gyflym; ond yn fuan ail gasgla y cornwydon, ac ymledant dros holl ddalenau yr ysgyfaint, a threiddiant yn ddyfnach i'w sylwedd. Yna â y claf, druan, glafach, glafach, wanach, wanach, bob tro; ond pan y byddo y cornwydon yn addfedu, ac yntau yn eu poeri i fyny, mae yn meddwl gwella hyd y diwedd. Y peth goreu pan weloch yr arwyddion lleiaf o'r clefyd angeuol hwn yw gochelyd yr achos, ac ymofyn am ryw feddyginiaeth yn ddioed; canys os â y cornwydon yn ddwfn i'r ysgyfaint, fe chwardd y clefyd hwn am ben holl gyffyriau y byd. Newidiwch yr awyr, gadewch y gelfyddyd, ewch allan i drin yr ardd neu y maes: os na bydd genych na gardd na maes, marchogwch neu cerddwch bob dydd nes bo blino arnoch. Gofalwch pa beth a fwytaoch: llysiau-fwyd a llaeth-fwyd sydd oreu. Un o'r meddyginiaethau goreu rhag y clefyd hwn yw llaeth gwraig: mae llaeth gwartheg newydd odro yn dda hynod; mae llaeth enwyn newydd gorddi yn well: mae llaeth asen yn well na hyny. Nid oes dim hanes bod llaeth asen wedi methu iachau y darfodedigaeth unwaith erioed, os cymerir ef mewn pryd, a chymeryd digon o hono. Dyma brif fai y claf—oedi y feddyginiaeth, nychu heb gymeryd dim nes bo y clefyd wedi gwneud ei gyfansoddiad yn breswylfa oesol iddo, fel y dywed wrth pob meddyginiaeth, "Myfi sydd ben yma:" ac os cymer y claf ryw gyffyr, rhyw ychydig bach unwaith neu ddwy fydd hyny, fel pe byddai yn cymeryd swyn-gyfaredd. Os cymerir llonaid cwpan tê o laeth asen unwaith y dydd, bydd hyny yn beth mawr: ofer dysgwyl am un cyfnewidiad yn y cyfansoddiad wrth wneud rhyw ledrith o beth fel hyn. Rhaid i chwi wneud y llaeth yn brif gynaliaeth natur, gydag ychydig lysiau a bara gwyn, os ydych am wella; ac onide, marw heb gymeryd dim. Yr ydych yn beichio ac yn twyllo eich hunain, ac yn rhoddi anghlod i'r feddyginiaeth,

wrth gellwair fel hyn. Gyda bendith Rhagluniaeth ddwyfol, fe iacha llaeth asen y darfodedigaeth a'r peswch mwyaf cyndyn, oni fydd y bai arnoch chwi trwy beidio a'i gymeryd mewn pryd, neu trwy beidio a chymeryd digon o hono. Yfwch ef fel y godrer ef, cyn yr oero, hanner peint ar y tro, gyda thamaid o fara gwyn, mor fynych ag y galloch. Os bydd y llaeth yn agor gormod ar y corph, cymysgwch ychydig o bowdr *Crab's Claws* am ei ben bob tro : chwi a'i cewch gan y fferyllydd. Neu gellwch gymeryd y cyffyr canlynol, os bydd yn fwy cyfleus, ac fe ettyb yr un dyben : *Tincture of Digitalis and tincture of Opium, one ounce of the first, and half an ounce of the last; mixed.* Cymerwch ddeg neu bymtheg diferyn dair gwaith y dydd mewn tê Llwyd y cwn gwan, gan chwanegu un diferyn bob dydd gyda phob dogn, hyd oni byddo yn effeithio ysgafnder yn y pen, gloesygion, a saldra ; yna dechreuwch ar ddeg neu bymtheg, a chynyddwch y dogn fel o'r blaen. I ddileu ei effeithiau o'r pen, sugnwch sudd *orange.*

Mae y feddyginiaeth uchod wedi gwneud rhyfeddodau yn mhob math o'r darfodedigaeth, ac yn sicr o gwbl iachau os cymerir hi mewn pryd. Mae y llysiau canlynol yn hynod o dda :—Gwraidd Marchalan, Llwyd y cŵn, Dant y llew, Eiddew y ddaear, Isop, y Glafrllys, Briw y march, Ffa'r gors ; gellwch gymeryd yr un faint o bob un, neu gellwch gymeryd rhai o honynt, gwneuthur tê cryf o honynt, ei felusu yn dda â mêl, a'i yfed mor fynych ag y galloch yn y dydd. Neu cymerwch y ddiod ganlynol :—Tansi gwyllt, Eiddew y ddaear, Llysiau'r ysgyfaint, dail Llwynhidydd, Gwallt y forwyn, Rhyw y wal, Cribau St. Ffraid, dail Carn yr Ebol, Gwyddfid, Tafod yr hydd, Dant y llew, Ysgol Fair, gwraidd Ffenigl, gwraidd Persli, Llychlyn y Dwfr, Berw'r dwfr, a Theim, dyrnaid o bob un ; ac wns o had Anis ; berwer hwynt oll mewn deuddeg chwart o ddwfr ffynon nes treulio i chwech ; rhaid gwneyd hyn mewn llestr cauedig ; pan oero, hidlwch a photelwch ef. Ychydig cyn y cymeroch ef oddiar y tân, rhaid i chwi roddi ynddo hanner pwys o siwgr gwyn ; ond *barley sugar* fyddai oreu. Yfwch hanner peint o hono foreu a hwyr yn gynes tra y parhao. Hon yw y ddiod lysiau oreu a ellir gael rhag holl anhwylderau y ddwyfron.

## Enyniad y Cylla.—*Inflammation of the Stomach.*

ACHOSION :—Yfed dwfr oer pan y byddo y corph yn wresog, anwyd trwm, a'r chwysdyllau yn cau yn sydyn, surni y bustl, sychu hen glwyfau yn rhy fuan, bwyta pethau celyd, megys esgyrn, ceryg eirin, &c. Arwyddion :—Poen sefydlog a gwres llosgedig yn y cylla, anesmwythder a phrudd-der, y pwls yn gyflym a chryf, dylyfu gen a selni, ac weithiau y bwyd yn dyfod i fyny ; syched anorphen, oerni yn y rhanau pellaf, diffyg anadl, chwys oer, a llewygon weithiau ; y cylla yn chwyddo, ac yn ddolurus i'w deimlo. Yr arwydd mwyaf amlwg yw poen mawr ar ol bwyta, yn enwedig peth oer neu beth brwd. Pan byddo y dyoddefydd yn cyfogi y peth mae yn fwyta, yn flinderus wrth yfed, yn cael ei flino gan yr igau, y pwls yn anghyson, ac yn llewygu yn fynych, mae y perygl yn fawr. Meddyginiaeth :—Gochelwch rhag rhoddi un math o wirodydd poethion i'r claf, ei ladd mewn mynyd fyddai hyny ; yr un modd byddai cyfog yn angeu sicr iddo. Rhoddwch ryw fwyd tyner iddo ; megys cawl dwr teneu, neu gawl cyw, a rhoddwch ef iddo yn naws y gwaed : gofalwch am beidio rhoddi dim iddo yn rhy dwym nac yn rhy oer. Dylid gwaedu yn ddioed yn y dolur hwn, a gwneud hyny amrywiol o weithiau, os bydd nerth y claf yn caniatau ; mwydo y traed mewn dwfr cynes, ac yfed tê y llysiau canlynol yn glaiar :—Suran y coed, Dant y llew, a Llydain y ffordd, yr un faint o bob un.

## Annhreuliad.—*Indigestion.*

ACHOSION :—Gofid ac anesmwythder meddwl, darllen a myfyrio llawer, chwysu yn anghymedrol, cyfeillach anghymedrol y ddau ryw, yfed gwirodydd poethion, a byw yn afreolaidd ; defnyddio myglys a the yn ormodol, peidio cymeryd digon o ymarferiad yn yr awyr agored. Arwyddion :—Dim chwant bwyd, dwfr poeth, dylyfu gen, y cylla yn orlawn o wynt, a hwnw yn swnio yn yr ymysgaroedd. Meddyginiaeth :—Ymarferwch â rhyw lafurwaith bob dydd ag a fyddo yn twymo y gwaed, bwytewch fwyd tyner, ac yfwch yn helaeth o dê y llysiau canlynol :—Ysgol Fair, Persli, Cribau St. Ffraid, dyrnaid o bob un, a llwyaid dda o had Garddwy ; rhoddwch arnynt dri pheint o ddwfr berwedig,

yfwch lonaid cwpan tê dair gwaith y dydd. Neu, cymerwch flodau y Camri, un wns, gwraidd *ginger*, chwarter wns, naddwch y *ginger* yn asglod, a rhoddwch y ddau ynghyd mewn *teapot* a gynwysa chwart o ddwfr berwedig; gadewch ef i aros dros nos, ac yfwch lonaid cwpan tê o hono dair gwaith y dydd. Neu ceisiwch gan fferyllydd y pethau canlynol:—*Extract of Camomile, one dram; Carbonate of Soda, half a dram; Oil of Caraway, ten drops; Conserve of Ginger, sufficient quantity to make twenty-four pills;* cymerwch ddwy bob nos. Neu *Rhubarb powder and Salt of Wormwood, of each, one dram and a half; Balsam of Peru, enough to make twenty-four pills.* Cymerwch dair neu bedair bob yn ail neu drydedd nos. Neu cymerwch *Tincture of Snake-root, and Aromatic Tincture, of each one ounce; Acid elixir of Vitrol, one dram and a half;* cymerwch ddau lonaid llwy dê o hono ddwy awr cyn ciniaw, ac yfwch ddarlwnc da o dê Camri ar ei ol.

## Enyniad yr Afu.—*Inflammation of the Liver.*

Achosion:—Tewdra anarferol, anhwylderau yr afu, ansawdd drwg y gwaed, ceryg yn y bustl, yfed gwirodydd poethion, y pruddglwyf. Arwyddion:—Tyndra yn yr ochr ddehau, poen dan yr asenau byrion, diffyg anadl, gwrthwynebrwydd at fwyd, syched mawr, a'r croen yn edrych yn felynaidd; peswch, ac fel pe byddai pwysau ar yr ysgwydd ddeau, a'r dyoddefydd yn methu gorwedd ar yr ochr ddeau. Meddyginiaeth:—Mae y pethau a nodwyd at enyniad y cylla, yn dda yma, ond yn unig y byddai yn dda yfed tê y llysiau canlynol:—Llysiau'r afu, Llysiau'r fyddau. Dant y llew, a Llysiau'r gerwyn, dyrnaid o bob un; rhoddwch arnynt ddau chwart o ddwfr berwedig: yfwch lonaid cwpan tê o hono yn glaiar. Byddai yn dda i chwi gymeryd dogn neu ddau o ryw gyffyr rhyddhaol.

## Enyniad y Coluddion.—*Inflammation of the Intestines.*

Mae hwn yn un o'r clefydau mwyaf poenus a thruenus. Yr un pethau a'i hachosa ef ag sydd yn achosi enyniad y cylla; ond gellid ychwanegu bol-rwymedd, llyngyr, bwyta ffrwyth anaddfed, neu lawer o gnau. Yfed diod brag haidd

coch, neu wedi twymo, yfed diod, gwin, neu sider, wedi suro; weithiau achosir ef gan ansawdd afiachus y coluddion; pendduod bychain oddifewn, bob amser a lidiant ac a enynant yr holl ymysgaroedd; mae yr ymysgaroedd weithiau yn y sefyllfa glwyfus hon yn cydio yn eu gilydd, ac yn ffurfio attalfa hollol. Arwyddion:—Mae yr arwyddion yr un fath agos ag yn enyniad y cylla, ond bod y poen yn fwy ffyrnig ac yn îs i lawr, ac mae y tuedd cyfogi yn gryfach; ac weithiau mae yr ysgarthion yn dyfod i fyny trwy y genau, a gwynt yn mron hollti y dyoddefydd yn barhaus; ac weithiau bydd yn methu a gwneyd dim dwfr. Pan y byddo tuedd cyfogi ar amserau yn unig, a'r ysgarthion yn cerdded yn eu lle, mae rhyw obaith am adferiad. Ond os bydd yr ysgarthion yn dyfod allan trwy y genau, a'r dyoddefydd yn wan, y pwls yn wamal ac isel, yr wyneb yn welw, a'r anadl yn ffiaidd ac yn ddrewedig, mae y claf i'w ofni yn fawr; ond os bydd yr ysgarthion yn ddu a drewedig, a chwys oer yn dyfod allan, y pwls yn wan ac anghyson, a'r poen wedi darfod, gellwch benderfynu bod pydredd wedi cymeryd lle, ac angau yn yr ymyl. Meddyginiaeth:—Y pethau a gyfarwyddwyd rhag enyniad y cylla ydynt dda yma. Rhaid gwaedu yn ddioed, a gwneyd hyny amrywiol o weithiau, oni chilia yr arwyddion drwg. Dylid mwydo y traed mewn dwfr cynes, llenwi pledren â dwfr cynes, a'i rhoddi wrth yr arffed, a chostreli o ddwfr cynes, a'u rhoi wrth y traed; os na wna rhyw bethau diniwed fel hyn laesu y poen, rhaid i chwi anfon am ryw feddyg cyfarwydd; bydd yma lawn orchwyl iddo, yn enwedig os bydd cwlwm neu attaliad yn y perfedd.

## Graian a'r Gareg.—*Gravel and Stone.*

Mae arosiad y graian yn fwyaf neillduol yn yr arenau, ac os dygwydd i un o'r ceryg bychain hyn aros yn y bledren, mae yn cynyddu, ac yn myned yn rhy fawr i ddyfod allan yn ffordd y dwfr, a phan byddo yn cynyddu, mae yn myned yn drymach, yn dolurio y bledren, ac yn achosi poen annhraethol; fel hyn mae y graian yn myned yn gareg. Achosion:—Yfed gwinoedd cryfion, byw yn dda, eistedd gormod, ac yfed dwfr graianog: mae dwfr oddiar geryg calch yn ddrwg iawn. Nid oes dim braidd yn waeth na bod y traul ymborth yn

ddrwg. Arwyddion :— Os bydd y graian yn eich blino, mae poen yn y cefn a'r lwynau, selni, tuedd cyfogi, gwynt yn y cylla, ac weithiau dwfr gwaedlyd. Pan y byddo un o'r ceryg bychain hyn yn pasio o'r aren i'r bledren, mae y poen yn fwy angherddol, ac yn ymestyn yn mlaen tua'r bledren, ac ochr y glun a'r forddwyd yn cysgu, ac yn boenus, ac fel yn cael ei gwasgu gan bwysau, a'r dwfr yn cael ei wneyd gydag anhawsdra mawr. Pan y byddo careg yn y bledren mae y poen yn fwyaf cyn gwneyd dwfr, wrth ac ar ol gwneyd dwfr; mae y dwfr yn dyfod allan bob yn ddiferyn gyda phoen annhraethol; weithiau fe red yn rhwydd am eiliad neu ddau, ac a attal wedi hyny yn sydyn. Mae y dyoddefydd yn teimlo poen mawr i farchogaeth, yn enwedig mewn lle garw; ac ar ol cerdded neu weithio ychydig daw gwaed allan gyda'r dwfr. Mae y dwfr yn wyn, yn dew, a chawsaidd, yn debyg i faidd wedi ei ferwi ; llosgfa ac ysfa fawr yn y dirgel-fanau, yn enwedig wrth ddarfod gwneyd dwfr. Meddyginiaeth :— Bwytewch lawer o erfin, Cloron, Moron, a Phanas; Wynwyn, Cenin, *Lettuce*, a Phersli ydynt bethau rhagorol. Yfwch faidd, enwyn, llaeth, a dwfr. Mae tê un neu ychwaneg o'r llysiau canlynol yn hynod dda :—Llysiau y Fyddau, Llysiau'r Gerwyn, y Wialen Aur, Hadau Moron gwylltion, Had Llin, Ffa'r Gors, Sawdl y Crydd, y Feddalai, neu flodau Camri. Rhaid i chwi barhau i yfed tê cryf un neu ychwaneg o'r llysiau uchod am dymor hir, ac yfed yn helaeth o hono. Mae y cyffyriau canlynol oddiwrth y Fferyllydd yn effeithiol iawn :—*Sweet Spirits of Nitre, one ounce ; Oil of Juniper and Tincture of Opium, of each half an ounce, mixed.* Eilwaith ceisiwch gan y Fferyllydd bedair wns neu ychwaneg o'r dail a elwir *Uva Ursi.* Rhoddwch grafanged o'r dail hyn mewn *teapot* canolig, a llenwch ef â dwfr berwedig. Yn awr cymerwch hanner lonaid llwy dê o'r botel a gymysgodd y Fferyllydd i chwi, mewn llonaid cwpan te o'r isgell a enwyd; ond cofiwch ysgwyd y botel yn dda bob tro cyn ei gymeryd. Gellwch ei gymeryd ddwy waith y dydd. Nis gwn am ddim sydd well : ond i chwi barhau i'w gymeryd am dymor, ac os na bydd careg wedi ffurfio yn y bledren, bydd yn sicr o'ch iachau. Gellwch gymeryd y botel a nodwyd mewn te un o'r llysiau a enwyd, megys y Wialen aur, neu had y Carot gwyllt : neu os bydd lliw gwaed ar eich dwfr, byddai had

Llin yn dda. Dichon y byddei tê un o lysiau ein gwlad ni yn well i rai cyfansoddiadau na *Uva Ursi*. Gellwch wneyd prawf o'r powdr canlynol:—*Rhubarb powder, and Columbo powder, of each one dram; subcarbonate of Soda, two drams; Quinine, fifteen grains; mix and divide it into* 12 *doses.* Cymerwch un o'r dognau hyn bob nos. Mae y ddau gyfarwyddyd hyn yn anmhrisiadwy yn holl anhwylderau y graian.

## Clefyd Melyn.—*Jaundice.*

ACHOSION:—Attalfa yn y bustl, gwenwyn yn ymgymysgu â'r gwaed, brathiad neidr, neu gnoad ci cynddeiriog heb eu hollol iachau; *colic* bustlaidd, nwydau afreolaidd, megys hiraeth, gofid, llid: rhyddrediadau, y cryd, ac anwyd trwm. Arwyddion:—Blino mawr, y dyoddefydd yn anfoddlon i symud o fan i fan, yn eistedd, gorwedd, a chysgu trwy y dydd; y croen yn sych, a rhyw ysfa drwyddo; yr ysgarthion yn wyn, y dwfr mor felyn a'r *Saffron*, a liwiai liain gwyn i'r lliw hwnw. Mae gwyn y llygaid yn felyn, y croen a'r ewinedd yr un fath. Diffyg anadl, ac fel pe byddai pwysau yn gwasgu ar y ddwyfron; gwres mawr yn y ffroenau, a blas chwerw ar y genau; dim chwant bwyd; poen, gwynt, a gwrthwynebrwydd yn y cylla. Nid yw y clefyd hwn yn anfeddyginiaethiol, oni fydd yn gydymaith i ryw glefydau ereill, neu wedi ei adael yn hir, a throi yn glefyd du. Mae yn haws ei iachau ar bobl ieuainc nag ar hen bobl, yn enwedig os bydd ei gwmni gydag ef. Meddyginiaeth:—Bydded eich bwyd yn ysgafn; llysieu fwyd sydd oreu mae cawl cyw neu wyau yn dda, ond peidio berwi ond ychydig arnynt; mae llaeth enwyn a mel ynddo yn dda; mae cerdded, rhedeg, a neidio, os gellwch, yn llesiol. Mae marchogaeth ar geffyl garw am oriau wedi gwella rhai, ar ol i gyffyriau enwog fethu. Mae y pethau canlynol yn dra sicr o'i iachau, os cymerir hwynt mewn pryd. Ewch at fferyllydd i ymofyn cyfog; yr un a ganlyn yw y mwyaf diniwed:—*Ipecacuanha in powder, half a dram;* mae ugain gronyn yn ddigon i ddyn gwan: cymerwch ef yn y boreu, a cherddwch ar hyd y tŷ am ddeg neu bymtheg mynyd, hyd oni byddoch yn dra sal a hwyrdrwm; yna yfwch dê Camri yn glaiar, hyd

oni weithio y cyfoglyn yn dda: yfwch o'r tê ar bob adeg a alloch, nes golchi y cylla yn lân. Yna yfwch dê y llysiau canlynol:—Cnau'r Ddaear, Danadl, Llau'r 'ffeirad, Chwerwlys, Ysgol Fair, a'r Cantwll, yr un faint o bob un; gwnewch dê cryf o honynt, ac yfwch ddarlwnc da o hono dair neu bedair gwaith y dydd hyd oni wellhaoch. Neu ceisiwch gan fferyllydd *Elixir proprietatis*, *one ounce;* cymerwch o ddeg ar hugain i ddeugain diferyn ddwywaith y dydd mewn tê Chwerwlys neu Ysgol Fair, a byddwch wych. Neu yfwch isgell cryf o wraidd Cyngaw.

## Dyfrglwyf.—*Dropsy.*

Achosion:—Mae y clefyd hwn weithiau yn genedlaethol; yfed llawer o diodydd cryfion; mae yfwyr trymion yn mron bob yr un yn marw o'r dyfrglwyf; gorwedd ac eistedd gormod, diffyg ymarferiad digonol. Colli llawer o waed, rhyddrediad o'r corph yn cael ei attal yn sydyn, a'i achosa weithiau; yfed gormod o ddwfr oer pan byddo y corph yn wresog, byw mewn lle gwlyb a chorsog. Mae yn fynych yn effaith clefydau ereill, megys y clefyd melyn, chwydd yn yr afu, y cryd, clefyd y gwaed, a'r darfodedigaeth, yn nghyd â chwysdyllau y croen yn cau yn sydyn. Arwyddion:—Mae un math o'r clefyd hwn yn chwyddo yr holl gorph; mae yn dechreu yn y traed a'r migyrnau, a hyny tua'r hwyr, ac yn diflanu tua'r boreu; ond mae y chwydd yn raddol yn dringo i fyny o'r traed i'r corph, y breichiau, a'r pen; a phan y gwasgoch eich bys arno, bydd yn aros yn bwll am dro; wedi hyn bydd diffyg anadl, dim ond ychydig o ddwfr yn cael ei wneud; syched mawr, y corph yn rhwym a'r croen yn sych, trymder, marweidd-dra, twymyn araf, a pheswch poenus, yr hyn sydd nod marwol; dengys hyn bod yr ysgyfaint yn afiach. Mae math arall ag nad oes ond y bol yn unig yn chwyddo; os bydd dwfr yn achos o'r chwydd, adnabyddir hyn ond taro y llaw ar un ochor, a tharo y bol â'r llaw arall ar yr ochor gyferbyniol; ceir clywed y dwfr yn cyffro o un i'r llall. Hefyd, mae chwydd dyfrllyd yn llawer trymach na chwydd gwyntog. Pan bo y ddau yn cyfarfod maent fynychaf yn anfeddyginiaethol. Yr unig beth a ellir wneud yw anfon am feddyg i'w agor a'i

ollwng, ond nid yw hyn ond esmwythdra dros ychydig. Ond os bydd yr afiechyd wedi cymeryd y claf yn sydyn, ac yntau yn ieuanc, a'i gyfansoddiad yn dda, mae gobaith cryf am ei iachau, ond iddo ofalu am gymeryd cyffyriau mewn pryd. Ond os bydd y dyoddefydd yn hen ac wedi byw yn afreolaidd trwy ei oes, neu os bydd rhai o'i ranau mewnol yn ddrwg, megys yr afu neu yr ysgyfaint, ofer yw dysgwyl am wellhad.

Cyfarwyddiadau :—Rhaid i'r claf beidio yfed dim er ei syched mawr ; mae rhai wedi gwella o'r clefyd diffaith hwn wrth ddim ond hyn ; pan bo y syched yn fawr, gellwch ei ddofi â sudd *lemon* neu yr afal euraid, neu gellwch fwyta rhyw lysiau surion, megys Suran, Suran y coed, neu fwyta Mefus, os byddant i'w cael. Rhaid bwyta bwyd sych, megys bara wedi ei grasu, cig adar wedi ei bobi : mae rhai gwylltion yn well na rhai dofion ; Garlleg, Wynwyn, Mwstard, Berw'r dwfr, a Rhuddugl. Rhaid i'r dyoddefydd beidio bod yn llonydd, os gall symud mewn rhyw fodd ; mae cerdded, gweithio, neu farchogaeth yn hynod dda. Gofalwch fod y gwely mewn lle sych ; mae gwely caled yn well na llawer o blu. Mwydwch y traed mewn dwfr cynes, rhwbiwch y corph drosto â rhygl neu liain eithaf garw, a gwisgwch wlanen ar y croen. Os bydd y claf yn ieuanc a'r cyfansoddiad yn dda, bydd cyfog yn awr ac eilwaith yn dda ; fel hyn, *Ipecacuanha, half a dram ; oxemel of Squills, half an ounce, mixed*, i'w gymeryd ar unwaith. Peidiwch yfed llawer ar ei ol, onide chwi a ddinystriwch ei effaith. Mae llonaid cwpan tê neu ddau o dê Camri yn ddigon : gellwch gymeryd cyfog fel hyn ddwywaith yn yr wythnos. Rhwng pob cyfog cymerwch ddogn rhyddhaol chwyrn, hanner dyrnaid o Lîn y Mynydd ; rhoddwch hanner peint o ddwfr berwedig arno, a phan oero, rhoddwch ynddo ddau lonaid llwy dê o *Cream of Tartar*, ac yfwch ef. Mae y ddiod ganlynol yn rhagorol o dda :—Gwraidd Persli, Cnau'r ddaear, Ffenigl, gwraidd Marchalan, a had Mwstard, wns o bob un ; Llysiau'r fyddau, Chwerwlys llwyd, Gwallt y forwyn, y Cantwll, ac Ysgol Fair, dyrnaid o bob un ; had Ffenigl, had Persli, gwraidd Tafol blaenteinion, a gwraidd Cyngaw, wns o bob un, a dyrnaid da o frigau Danadl ; berwch hwynt mewn naw peint o ddwfr ffynon, ar dân araf, hyd oni threulio i chwech peint ; pan

oero, hidlwch a chostrelwch :—yfwch hanner peint dair gwaith y dydd. Byddai yn dda cymeryd cymaint a oddefo eich cylla o *Cream of Tartar* yn mhob dogn. Mae blochda *(cream)* gwaddod gwin yn dda yn y clefyd hwn.

## Gymalwst.—*Gout.*

Achosion :—Er mai bywyd segur ac anghymedrol fynychaf yw yr achos, etto achosir ef weithiau gan ddarllen a myfyrio gormod, gwylied y nos, gofid meddwl, neu attalfa yn rhai o'r arlloesiadau cyffredin. Arwyddion :—Annhreuliad, trymder, bytheiriadau gwynt, poen yn y pen, anhwyldra a thuedd cyfogi; blinder, iselder ysbryd, poen yn gwibio trwy yr aelodau, ac fel pe byddai dwfr oer yn rhedeg ar hyd y forddwyd: chwant bwyd mwy nag arferol ddiwrnod neu ddau cyn y pang, llosgfa wrth wneuthur dwfr, dagrau yn rhedeg o'r llygaid: mae yr arwyddion hyn weithiau yn fwy ffyrnig o flaen y pang. Weithiau mae y gymalwst yn dyfod ar ddynion ar dymorau penodol, yn y Gwanwyn neu y Gauaf. Mae y cyfryw yn gyffredin yn taro y claf yn y boreu, a phoen mawr yn mawd ei droed, ei sawdl, ei figwrn, neu braffder ei goes. Mae y poen yn dechreu fel pe teflid ystenaid o ddwfr oer ar y fan; yna dechreua y claf deimlo cryndod ac arwyddion o dwymyn; ar ol hyny mae y poen yn rhedeg trwy holl fân gymalau y troed, a'r poen mor angherddol fel pe byddent yn cael eu llosgi, neu eu tynu yn ddarnau; mae yn myned yn y diwedd mor anoddefol fel nas gall y claf oddef ei gyffwrdd, nac ychwaith gerdded yn groes i'r ystafell. Mae y poen hwn yn parhau yn gyffredin am bedair awr ar hugain; yna mae yn dechreu esmwytho, a'r lle poenus yn chwyddo ac yn cochi, ac fel pe byddai rhyw wlybwr arno; tua'r boreu mae y claf yn cysgu ychydig ac yn chwysu. Weithiau bydd y poen yn dychwelyd ac yn treio amrywiol o weithiau, yn ol cyfansoddiad y dyn, a'r tymor o'r flwyddyn; ond mae y dyoddefydd yn waeth yn wastad tua'r nos, ac yn well tua'r boreu, a'i boen ryw gymaint yn llai bob dydd; yn y diwedd diflana ei holl effeithiau yn llwyr, a throsglwyddir yr hylif a'i hachosa ymaith gyda'r chwys a'r dwfr. Meddyginiaeth: Y feddyginiaeth oreu a gawd etto at yr afiechyd poenus hwn, ag a ellir ei chymwyso yn allanol, yw gwlan wedi ei

gribo, a rhoi trwch da o hono o gylch yr aelod, a rhwymo lledr ystwyth neu wlanen am dano, a'i adael yn y fan hono hyd oni wellhao y claf yn holl iach. Cofiwch ddewis y gwlân tecaf. Byddwch fyw yn hollol ar lysieu-fwyd, ac nac yfwch ddim ond dwfr neu dê Cribau St. Ffraid a Ffa'r Gors. Ond y feddyginiaeth oreu oll yw cymedroldeb a llafur.

## Gewynwst.—*Rheumatism.*

Mae yr afiechyd hwn yn dal dynion, fynychaf, tua'r Gwanwyn a'r Hydref. Achosion: Y chwysdyllau yn cau; yfed diodydd meddwawl; cyfnewidiadau yn yr hin; myned allan mewn chwys i'r awyr agored; dillad a thraed gwlybion; eistedd neu gysgu mewn lle llaith; a theithio y nos. Achosir ef weithiau trwy fod hylifau y corph yn sychu yn rhy fuan, neu gan glefydau ereill. Arwyddion:—Blino, cryndod, y pwls yn fuan, anesmwythder, syched ac arwyddion twymyn: ar ol hyn mae y claf yn teimlo poen yn gwibio yma a thraw, yn fwy felly pan y byddo yn symud; o'r diwedd mae y poen yn aros mewn rhyw gymal, a hwnw yn llidio ac yn chwyddo. Meddyginiaeth:—Cymerwch ddogn neu ddau o ryw gyffyr rhyddhaol ag a weithio yn chwyrn; yna cymerwch *Cream of Tartar, one ounce and a half; Gum Guaiacum, in powder, six drams; mix and divide it into twelve doses;* cymerwch un o'r dognau uchod mewn darlwnc da o dê Ffa'r Gors, ddwy neu dair gwaith y dydd. Neu cymerwch lonaid llwy dê, neu ychwaneg, o *Volatile tincture of Gum Guaiacum,* mewn darlwnc o dê Llysiau'r Gerwyn. Neu llyncwch lonaid llwy fwrdd o had mwstard gwyn bob dydd am dymor; a golchwch hwynt i lawr â dwfr ffynon: mae hon yn feddyginiaeth ragorol ond glynu wrthi.

## Clefri Poeth.—*Scurvy.*

Achosion:—Awyr llaith, bwyta cig hallt wedi ei sychu mewn mwg, hylifau y corph yn cael eu hattal, megys y mislif, &c.; siomedigaeth, gofid, ofn, diffyg glanweithdra, dillad carpiog, aflan; diffyg ymarferiad ag awyr a bwyd iachus. Mae yr anhwyldeb hwn weithiau yn genedlaethol. Arwyddion:—Blino, trymder, a diffyg anadl, yn enwedig

wrth ddringo tylau; y gorchfanau *(gums)* yn pydru ac yn gwaedu wrth gyffwrdd â hwynt, yr anadl yn drewi, y ffroenau yn gwaedu, y cymalau yn cracio wrth eu plygu, y traed yn chwyddo, yr wyneb yn welw, ac weithiau o liw plwm. Fel y byddo y clefyd yn gafaelu mae yr arwyddion yn gwaethygu, y dannedd yn pydru, gwaed yn llifo ar droion o wahanol ranau y corph, cornwydon yn codi yma a thraw, a phoen garw yn y ddwyfron, a'r holl groen yn llawn agenau a chrach, pa rai sydd yn sychu, ac yn syrthio ymaith, ond mae rhai ereill gwaeth yn dyfod yn eu lle; o'r diwedd mae y claf yn nychu, ac yn aml yn cael ei ddal gan glefyd y gwaed, y dyfrglwyf, y parlys, llewygon, neu budredd yn rhai o'r rhanau mewnol.

Meddyginiaeth:—Beth bynag a achosodd y clefyd, rhaid ei adael yn ddioed. Byddwch byw ar lysieu-fwyd, megys afalau, afalau euraid, *lemons*, Berw'r dwr, Llysiau'r llwg, a Llychlyn y dwr. Mae byw ar laeth wedi iachau y llwg droion; ond mae dynion yn diystyru y llysiau a'r llaeth am eu bod mor rhad ac hawdd eu cael, ac yn rhedeg i geisio y cyffyriau, y bwyd, a'r ddiod mwyaf costus: bwytant y cig brasaf, a llyncant y gwirodydd drutaf, a lladdant eu hunain wrth hyny. Ymdrechant i gymeryd y *drugs* sydd wedi costio cymaint iddynt, serch eu bod yn wenwyn i'w cyfansoddiad, heb gofio mai y bwydydd, y diodydd, a'r cyffyriau mwyaf syml sydd oreu i natur. Pe byddai i'r dynion hyn fyw ar laeth a llysiau, ni byddai raid iddynt ofni y llwg. Mae y ddiod ganlynol yn rhagorol dda rhag y llwg:—*Chips of Sassafras, half a pound; Juniper berries, three ounces* (rhaid i chwi gael y ddau gan fferyllydd); Hoccys y gors, Dant y llew, Llysiau'r Gerwyn, Llysiau'r llwg, Berw'r dwr, Llychlyn y dwr, Ysgol Fair, Ffa'r gors, dyrnaid o bob un, ac ychydig o *orange peel.* Dodwch hwynt oll mewn llestr cauedig, ac arnynt ddeuddeg chwart o ddwfr ffynon; gadewch ef i ledferwi hyd oni threulio i naw, pan oero hidlwch a chostrelwch ef; yfwch hanner peint dair gwaith y dydd. Mae gwasgu sudd Ffa'r gors ac yfed darlwnc o hono bob dydd, wedi gwella y llwg lawer gwaith. Neu ceisiwch beint o *Norway tar*, rhoddwch ef mewn llestr pridd glân, tywalltwch arno ddau chwart o ddwfr ffynon, cymysgwch ef dros ddau neu dri mynyd, a gadewch ef i aros wyth awr a

deugain ; diewynwch ef yn gynil, tywalltwch y dwfr oddiar y *tar*, a photelwch ef ; yfwch hanner peint bob dydd, a chewch iachad.

## Manwynon, Clefyd y Brenin.—*Scrofula.*

ACHOSION :—Mae y clefyd hwn weithiau yn genedlaethol. Ergydion ac ysigiadau a'i hachlysurant, pan byddo eu natur yn y dyn yn flaenorol ; unrhyw beth a wanycho y cyfansoddiad, megys diffyg ymarferiad neu awyr iachus, gormod o wres neu oerfel, ymborth gwael a dyfrllyd, dwfr afiach, a diffyg glanweithdra. Nid oes dim yn waeth i'w achosi ar blant na gadael dillad gwlybion i aros am danynt, ac eistedd i lawr. Arwyddion :—Cnapiau bychain yn ymddangos o dan yr ên neu tu ol i'r clustiau, y rhai hyny yn ychwanegu mewn rhif a maint, ac yn y diwedd yn rhedeg i'w gilydd yn un chwydd mawr, a hwnw yn aros yn hir cyn tori, a phan y toro, nid oes dim yn rhedeg o hono, ond rhyw ddwfr llwyd bob yn ronyn. Ymddengys yr un fath chwydd mewn manau ereill, megys o dan y ceseiliau, y morddwydydd, y traed, y dwylaw, a'r ddwyfron. Hefyd, yn y clefyd hwn yn aml mae y trwyn a'r wefus uchaf yn chwyddo.

Cyfarwyddyd :—Rhaid gochelyd yr achos, os bydd modd. Rhaid i'r bwyd fod yn feithrinol a iachus, y dwfr yn bur, ac ymarferyd â llafur. Mae y clefyd hwn yn gwella ei hun ar amserau pan fyddo rhyw dro ar natur, yr hyn sydd wedi bod yn achos i ddynion oferg elus briodoli y gwellhad i'r brenin, neu y seithfed mab yn taro ei law ar y dyn, neu beth bynag a ddigwyddo i'r claf gymeryd olaf cyn y cyfnewidiad, hwnw fydd wedi ei iachau. Mae y dwfr *tar* a enwyd i wella y llwg, yn feddyginiaeth enwog rhag y clefyd hwn ; dilynwch arno hyd oni wellhaoch. Neu cymerwch y ddiod hon :—Gwraidd Tafol blaenfeinion, gwraidd Cyngaw, golchwch a naddwch hwynt yn asglodion, tair wns o bob un ; Danadl, Llau'r 'ffeirad, Briw'r March, a Chribau St. Ffraid, dyrnaid o bob un ; dwfr ffynon chwe' chwart ; gadewch ef ar farwor i ledferwi hyd oni threulio i'r hanner ; pan oero, hidlwch a photelwch ef : yfwch hanner peint ddwy neu dair gwaith y dydd. Gellwch ei felusu yn dda a mêl. Neu ewch i'r dwfr hallt, yfwch ychydig o hono ac ymolchwch bob dydd ynddo, a rhoddwch y Gwimon wrth y doluriau ; mis Awst

yw y tymor goreu. Aroswch hyd oni oero yr hîn ; ewch eilwaith y flwyddyn ganlynol, a gwnewch yr un modd. Nid oes dim yn sicrach o iachau y clefyd hwn na dwfr y môr. Pa feddyginiaeth bynag a gymeroch, cofiwch y rhaid glynu wrthi am dymor hir cyn dysgwyl llesad ; rhaid gweithio yr hylif a'i hachosa yn hollol o'r gwaed ; ac nid mewn ychydig ddyddiau y gwneir hyn. Os dewiswch ryw lysiau, neu y dwfr *tar*, rhaid i chwi eu cymeryd hyd oni weithiont gyfnewidiad hollol yn eich cyfansoddiad. Neu os ewch i'r môr, rhaid i chwi aros yno hyd oni byddoch yn ddyn newydd.

## Crafu.—*Itch.*

MAE y clefyd hwn yn gydiadol. Achosir ef gan ddiffyg awyr a bwyd iachus, ac eisiau glanweithdra. Mae yn ymddangos yn dosau ychain o gylch yr arddyrnau ; wrth eu rhwbio mae dwfr gloyw yn dyfod allan o honynt. Ymddengys yn dra buan rhwng y bysedd, y breichiau, y coesau, ac oddifewn i'r morddwydydd. Mae ysfa anarferol yn y cnapiau bychain hyn, yn enwedig pan bo y dyoddefydd yn y gwely, neu wrth y tân. Wrth hir aros, mae yn myned yn bothellau crawnllyd, a'r crach ar y dwylaw a'r bysedd yn tori yn agenau poenus. Y feddyginiaeth oreu yw brwmstan: cymerwch beilliad brwmstan a *cream of Tartar* mewn triagl neu laeth newydd odro, am dri neu bedwar bore ; ac yna ceisiwch yr eli canlynol gan fferyllydd :—*Flour of sulphur*, *two ounces ; crude sal ammoniac*, *finely powdered*, *two drams*, *mixed*. Nid oes eisiau i chwi ond iro hwn yn eich breichiau a'ch dwylaw, ac ychydig ar y manau gwaethaf ar eich cluniau, a hyn am ddau neu dri thro ; ar ol hyn ymolchwch yn lân mewn dwfr claiar a sebon, a newidiwch eich dillad, ac yna gellwch ganu yn iach i'r crafu.

## Clwyf y Marchogion.—*Piles.*

MAE dau fath o'r clefyd hwn, un yn gwaedu, a'r llall yn chwyddo heb waedu. Dynion o gyfansoddiad llaith, corphorol, yn byw yn dda, ac yn eistedd llawer, a flinir fynychaf gan y dolur hwn. Achosir ef yn aml gan ormod o waed, cyffyriau carthiadol a llawer o aloes ynddynt ; bwyta cig hallt, yfed gwinoedd, esgeuluso gwaedu, arfer marchogaeth

llawer, a bol-rwymedd; achosir ef weithiau gan nwydau cryfion, megys llid, siomedigaeth, a gofid; eistedd ar ddaear wlyb, gwisgo dillad ysgafnach nag arferol: blinir gwragedd beichiogion yn fynych gan y dolur hwn. Meddyginiaeth: Ni ddylid dychrynu pan y byddo rhyw gymaint o waed yn dyfod o'r rhefr, ond ceisio meddyginiaeth yn ddioed; mae cael gwared o waed yn y ffordd hono, yn feddyginiaeth weithiau i glefydau ereill, megys y gymalwst, y gewynwst, diffyg anadl, yn arwydd da mewn twymynon. Mae cael gwared o waed yn y ffordd hon yn foddion i attal amrywiol o glefydau yn fynych; ond os collir llawer o waed felly, nes bod y claf yn gwanychu, rhaid ceisio gwellhad. Yfwch dê cryf Llysiau'r Gwaedling: gwn am rai a iachawyd trwy hyn yn unig, pan yn methu codi o'u gwely. Neu yfwch dê cryf Llygad Ebrill, neu gawl penau gwynion Cenin mewn dwfr: yfwch y cawl, a bwytewch y Cenin. Neu cymerwch beilliad brwmstan a *cream of Tartar* mewn triagl bob boreu. Ni wn am ddim sydd well na hyn pan byddo enynfa a phydredd yn y rhefr, na dim yn fwy diniwed; ond am ei fod yn rhad, diystyrir ef.

## Rhefrwst.—*Colic.*

Mae tri math o *golic* yn bod; y *colic* gwynt, y *colic* bustlaidd, a'r *colic* gewynaidd. Achosir y *colic* gwynt trwy fwyta ffrwyth anaddfed, neu ryw fwyd anhawdd ei dreulio; llysiau gwyntog, diod heb eplesu, gwlychu ac oeri, a chael anwyd trwm. Pobl laith, a'u traul ymborth yn ddrwg, sydd fwyaf tueddol i'r *colic* gwynt. Mae y dolur hwn weithiau yn blino y cylla, y coluddion, neu y ddau. Lle y bo, mae tyndra, chwydd, a phoen; swn yn y coluddion; ac os ceir gwared o wynt i fyny neu i lawr, ceir esmwythder. Nid yw y poen yn gyffredin yn sefydlog, ond gwibia yma a thraw trwy y coluddion hyd oni cheir ei wared. Meddyginiaeth:—Mwydwch y traed yn ddioed mewn dwfr cynes, a rhoddwch briddfaen yn dwym wrth y cylla, neu y fan y byddo y poen. Cymerwch Sawdl y Crydd, Persli, a Llysiau y Gwaedling, dyrnaid o bob un; had Anis a had Garddwy, llwyaid fawr o bob un; rhoddwch hwynt mew llestr cauedig, a thri chwart o ddwfr ffynon arnynt; berwch hwynt ar dân araf hyd oni threulio i ddau; pan oero, hidlwch ef,

ac yfwch hanner peint dair neu bedair gwaith y dydd. Ond gan fod y clefyd hwn yn gofyn meddyginiaeth ddioed, rhag iddo droi yn enyniad y coluddion, byddai yn well i chwi fyned at fferyllydd i geisio y pethau canlynol, a'u cadw yn y tŷ, os bydd y *colic* yn dueddol i chwi :—*Essential oil of Peppermint, one dram ; oil of Castor, two drams ; spirits of Lavender, one dram ; tincture of Opium, one dram and a half ; lenitive Electuary, one ounce, mixed:* cymerwch lonaid llwy dê o faintioli cyffredin, bob dwy awr, hyd oni laeso y pang, gan ysgwyd y gostrel bob tro. Mae hwn yn un o'r meddyginiaethau goreu a wyddys am danynt rhag y *colic* gwynt, ac wedi bod yn foddion i achub bywydau llaweroedd. Gan ei fod yn boeth i'w gymeryd ei hun, bydd yn well cymysgu pob dogn ag ychydig o ddwfr oer. Nid oes gwell trosglwyddydd i'w gael na dwfr oer. Cofiwch ar ol y llaeso y pang, nid oes eisiau i chwi i gymeryd ychwaneg o'r cymysg uchod. *Stopiwch* y botel yn ofalus, na ddiango dim o rym y moddion allan, a chedwch hwynt hyd oni byddo eu hangen ar rywun eilwaith. Ond bydd yn angenrheidiol i chwi, ar ol pasio y pang, gymeryd ychydig ddognau o ryw gyffyr rhyddhaol i garthu y camlas meithriniaeth yn dda, oblegyd mae rhyw hylif surllyd ac afiach yn glynu yn y cylla a'r coluddion bob amser pan y byddo y *colic* yn blino dyn. Cofiwch am hyn, onide bydd yr un clefyd yn sicr o ymosod arnoch yn fuan iawn eilwaith,

Y llall yw *colic* y bustl. Arwyddion :—Poen llym, pigog oddiamgylch y fogail : mae y poen hwn yn fwy sefydlog na'r llall ; bydd y pwls yn curo yn gadarn, ac arwyddion o dwymyn ; y dyoddefydd yn ymdroi ac yn griddfan, syched didor, a'r corph yn rhwym ; gloesygion a thuedd cyfogi, a llysnafedd gwydn, poeth, a chwerw, yn felyn a bustlaidd, yn dyfod i fyny ; yr arwyddion hyn yn cynyddu fwyfwy, nes bydd yn y diwedd yn achosi anmhwylldod, y traed a'r coesau yn chwyddo ac yn oeri, a chwys oer drewedig yn tori allan ; ac oni cheir meddyginiaeth, angeu buan a ganlyna. Y cyngor goreu i'r cyfryw yw yfed yn helaeth o dê Camri, hyd oni charther y cylla yn lân, ac yna cymeryd ychydig o ddognau o ryw gyffyr rhyddhaol a weithio yn chwyrn.

Math arall o *golic* yw *colic* y gewynau : mae hwn yn dra

thebyg i'r un uchod, ond nad yw y poen mor sefydlog. Bydd y corph yn wresog, yn enwedig y rhanau mewnol, megys yr afu, yr arenau, a'r ymysgaroedd, fel pe byddent oll ar dân, a phoen annhraethol yn y bol ; bydd weithiau yn aros mewn rhyw fan penodol, pryd arall trwy yr holl ymysgaroedd, megys pe byddai holl linynau yr ymysgaroedd yn cael eu dirdynu, a'r dyoddefydd yn ymdreiglo heb fynyd o orphwysdra, a'r corph yn parhau yn rhwym, y dwfr yn dyfod allan bob yn ddiferyn, syched didor, y corph yn gwanychu, rhanau pellaf y corph yn oeri, chwys oer yn tori allan, ac anobaith yn gordoi y meddwl ; holl nerth corph a meddwl yn cilio ar redeg. Mae y clefyd hwn yn gofyn yr un driniaeth ag enyniad yr ymysgaroedd : y peth goreu ar yr arwydd lleiaf, ydyw danfon am feddyg cyfarwydd yn ddioed.

## Llyngyr.—*Worms.*

Mae tri math o lyngyr yn gyffredin yn y corph dynol ; y llyngyr *flat*, pa rai ynt yn magu yn y cylla yn benaf ; y llyngyr crwn hirion, pa rai ynt yn magu yn y camlas meithrinol, y llyngyr crwn byrion, pa rai ynt yn magu yn y rhefr. Achosion :—Cylla gwan heb fawr traul ynddo ; mae bod mewn agwedd glebachog yn eu hachosi, bwyta llawer o ffrwyth anaddfed ; mae ansawdd naturiol rhai yn waeth i fagu llyngyr na'u gilydd. Arwyddion :—Yr wyneb yn welw yn aml, ond weithiau bydd gwrid ynddo, ysfa yn y trwyn, y dyoddefydd yn *startio* yn ddisymwth wrth gysgu ac yn rhinciau dannedd ; y wefus uchaf yn chwyddo, methu bwyta dim weithiau, bwyta gormod pryd arall, yr anadl yn ddrewllyd, chwydd caled yn y bol, syched mawr, y dwfr yn gawsaidd fel maidd wedi ei ferwi, ac ewyn ar ei wyneb, gwaew yn y bol, a phoen pigog o gylch y fogail. Dwr y genau yn rhedeg allan wrth gysgu, poen yn fynych yn yr ochr, peswch sych, pwls anghyson, y galon yn dychlamu, marweidd-dra, chwys oes, gwendid gewynau, a chwant bwyd annaturiol, yn enwedig os bydd y *tapeworm* yn y cylla. Yfed tê un neu ychwaneg o'r llysiau canlynol am dymor, a ladd yr holl lyngyr cyffredin ; Tansi, Ffa'r Gors, Crafanc yr arth, Ysgol Fair, Camri, Rhyw, Chwerwlys llwyd. Mae y llysieuyn diweddaf yn difrodi eu hadau, ac yn symud ymaith yr achos o honynt trwy gryfhau y cylla, a chynorth-

wyo y traul ymborth. Mae dwfr calch yn dda iawn i'w mysgu ; os bydd y dyoddefydd dros 15 oed, gall yfed peint y dydd o hono ; neu gellwch rhoddi tê gwraidd *India pink* iddo ; neu os plentyn bach fydd y dyoddefydd yn rhy gall i'w dwyllo, a rhy ieuanc i'w berswadio, ewch at fferyllydd, a cheisiwch ychydig o *oil of Wormwood;* eneiniwch o gylch fogail y plentyn, a rhoddwch wlanen dwym arno. Mae *elixir proprietatis* yn un o'r pethau goreu i ladd llyngyr ; efallai y byddai yn fwy cyfleus i rai ei gael na llysiau. I ddyn mewn oed a grym, gellwch roi deugain diferyn, ddwywaith y dydd, mewn dwfr oer.

## Cancr.—*Cancer.*

Y CLEFYD hwn a achosir, fynychaf, gan ergydion ac ysigiadau allanol; weithiau gan enynfa yn y *glands*, neu gall fod yn genedlaethol. Arwyddion :—Cnepyn bychan dan y croen, yn aros yr un fath a'r un faint, weithiau am flynyddau, heb nac amliw na phoen, ond nid yw felly bob amser ; weithiau cynydda yn gyflym mewn caledwch a maintioli ; bob yn ronyn, bydd y dyoddefydd yn teimlo poen pigog yn saethu oddiwrtho bob ffordd, y gwythienau o'i gylch yn chwyddo, ac yn ddolurus, erys yn y sefyllfa hon weithiau am flynyddau ; bryd arall tyr yn gynt, fel y byddo cyfansoddiad y claf ; pan doro, mae rhyw hylif llwyd dyfrllyd yn rhedeg o hono, yn llosgi a llygru y croen, ei arogl yn ddrewedig iawn ; ymylau y clwyf yn uchel ac anwastad ; a lliw yr holl glwyf yn debyg i blwm. Meddyginiaeth :—Nid oes fawr gobaith am iachau y clefyd hwn os tyr allan yn glwyf. Y peth goreu ag a ellir wneyd yw cymeryd meddyginiaeth mewn pryd ; os bydd mewn man cyfleus heb fod yn rhy agos i un gewyn na rhydweli, ewch at feddyg i'w dynu ymaith tra byddo y cnepyn yn fach, ac heb wreiddio i'r esgyrn a'r arteriau. Ni fydd fawr poen y pryd hyny, nac un math o berygl. Gwir bod llawer wedi bod dan law meddyg, ac yntau wedi tynu y cancr ymaith, ond yn tyfu eilwaith, ac yn dwyn bywyd y claf ; ond cofier pan ddigwydda hyn, digwydda bob amser oblegyd i'r claf beidio ildio mewn pryd. Cofier os bydd y cnepyn mewn digon o gnawd, peidier petruso ei gymeryd ymaith. Ond nid yw yn digwydd felly bob amser. Mae y cancr weithiau yn magu ar fanau mor

dyner fel na ellir arfer y gyllell. Pan felly, ceisier y pethau canlynol yn ddioed:—*Extract of Hemlock, two drams; divide into* 60 *pills;* y dogn yw o un i ddeuddeg. Mae y peleni hyn yn gryf iawn; fe'u gwneir o sudd Cegid pumbys. Y ffordd oreu i chwi yw dechreu ar un, ac ychwanegu pelen bob dydd, hyd ddeuddeg; neu o leiaf, ychwanegu y dogn hyd oni effeithio wrthwynebrwydd a phen ysgafnder; i wellhau y cyfryw anhwyldeb, sugnwch sudd *orange.* Dichon y bydd raid i chwi gymeryd pelen neu ddwy yn llai bob dydd, os blinir chwi yn fawr gan yr anhwyldeb. Tra y byddoch yn cymeryd y *pills* uchod, rhaid yfed y ddiod ganlynol:—*Sarsaparrilla and Sassafras, o' each four ounces;* Briw'r March, Llysiau'r fyddau, Llysiau Llewelyn, gwraidd Cyngaw, dyrnaid da o bob un; naddwch y gwreiddiau yn fân, rhoddwch arnynt wyth chwart o ddwfr ffynon, berwch hwynt mewn llestr cauedig, ar dân araf, hyd oni threulio i chwech chwart; pan oero, hidlwch a chrostrelwch, ac yfwch o beint i chwart bob dydd tra yn cymeryd y *pills*; rhaid i chwi lynu wrth y feddyginiaeth am dymor, cyn cael llesad.

Os tyr y cnepyn yn glwyf, y sugaethau goreu i roi wrtho, yw Moron cochion, wedi eu pwyo, neu ddail Cegid pumbys, neu y gwraidd wedi eu pwyo am ben hen floneg; ond ni ellwch roi hwn yn agos i'r genau. Os bydd y dolur ar y genau, rhoddwch ddail Dringol, neu Lysiau'r fyddau arno. Cofiwch bod yn angenrheidiol i chwi gadw y man rhag oerfel; gwisgwch ychydig o groen cwningen, neu ryw beth arall ar y fan, a'r blew at y croen. Os bydd y chwydd yn goch a llidus cyn toro, da fyddai rhoi geleod wrtho. Peidiwch digaloni a rhedeg at ryw bethau ereill, os na ddiflana y chwydd mewn ychydig wythnosau neu fisoedd: nid oes dim wedi ei gael allan eto yn well nag *extract* y Cegid, a'r ddiod a nodwyd. Os methasant ryw dro, bu hyny o eisieu eu cymeryd mewn pryd, neu o achos eu rhoi i fyny yn rhy fuan. Mae rhai wedi eu cymeryd am ddwy flynedd heb iachad, a glynu wrthynt wedi hyny, a chael gwellhad hollol. Mae rhai wedi cymeryd triugain o'r peleni uchod mewn diwrnod, wrth ddechreu ar un neu ddwy, a chwanegu yn raddol. Gellwch anturio ychwanegu y dogn o hyd, nes y byddo gwrthwynebedd a math o feddwdod.

## Gwenwyn.—*Poison.*

Dygwydda angeu yn fynych o herwydd cymeryd gwenwyn yn ddiarwybod. Y gwenwyn mwnawl mwyaf cyffredin mae dynion anwybodus yn ei drafod, yw *arsenic;* prynant ef i ladd llygod, a chymerant ef eu hunain weithiau mewn camsyniad yn lle rhyw feddyginiaeth; yna mae y claf yn teimlo gwres mawr yn ei gylla yn ddioed, a brathiadau dychrynllyd trwy ei ymysgaroedd, syched, a thuedd cyfogi; y tafod a'r gwddf yn sych a garw, ac os na cheir meddyginiaeth mewn mynyd, bydd y claf yn cyfogi llysnafedd, yr ysgarthion yn ddu a drewedig; profa hyn fod pydredd wedi cydio yn yr ymysgaroedd, ac angeu yn ymyl. Meddyginiaeth:—Pan feddylioch fod gwenwyn yn y cylla, yfwch yn helaeth o laeth newydd odro, ac olew pêr yn gymysgedig, yn ddioed; os na bydd llaeth gerllaw, cymerwch ddwfr claiar ac olew yn ei le; os na bydd olew, toddwch ymenyn, a chymysgwch ef am ben dwfr neu laeth; ar ol yfed cymaint a chwart, os na chyfogwch, rhowch eich bys yn eich gwddf; ar ol cyfogi, yfwch eilwaith ac eilwaith, hyd oni ddarfyddo pob tuedd cyfogi, canys ni bydd bywyd y dyoddefydd yn ddiogel, tra bro gronyn o wenwyn yn y cylla. Nid oes dim yn well na llaeth a dwfr, i ladd ei effeithiau angeuol ar y cylla a'r coluddion, ac i beri cyfogi. Byddwch byw am wythnos ar ol hyn ar laeth-fwyd a llysieu-fwyd, ac yfwch dê had Llin neu Dant y llew am ychydig ddyddiau. Mae yn berygl bywyd yfed un math o wirodydd poethion yn fuan ar ol hyn.

## Brathiad Neidr.—*Bite of an Adder.*

Os gall y dyoddefydd gyrhaeddyd y fan, nid oes dim yn well na'i sugno yn dda; ond rhaid iddo olchi ei enau ag olew pêr twym yn gyntaf, a chadw peth o hono yn ei enau pan byddo yn sugno y brathiad. Os na all efe ei hun gyrhaedd y clwyf, rhaid i ryw berthynas ei sugno yn ei le; ni raid iddo ofni yr un perygl, ond iddo olchi ei enau ag olew pêr yn flaenorol. Ar ol sugno y pigad yn dda, yfer y ddiod ganlynol:—Llydain y ffordd, Llwyd y cwn, a gwraidd Crip y dryw, dyrnaid o bob un; a llwyaid dda o had

Garddwy: berwch hwynt mewn dan chwart o gwrw cryf ar dân araf, hyd oni threulio i dri pheint; rhenwch ef yn dri dogn, cymerwch un bob pedair awr, a gorweddwch yn y gwely i chwysu, a byddwch iach.

## Cnoad Ci Cynddeiriog.—*Canine Madness.*

MAE y clefyd dychrynllyd hwn weithiau yn wreiddiol, yn cael ei gynyrchu gan gyfansoddiadau gweinion, a fyddo wedi cael eu cynhyrfu i ryw eithafion gan bangau y famwst, tymer wyllt, neu ddiod feddwawl; mae ffeithiau diymwad yn profi i rai dynion fyned yn hollol gynddeiriog trwy bethau o'r fath, heb un achos allanol. Ond achosir y clefyd fynychaf gan ddamweiniau allanol. Dywedir bod rhyw sarph o'r enw *Cobra di Capello*, a'i gwenwyn yr un natur yn union â gwenwyn ci cynddeiriog; ond effeithir y clefyd truenus hwn fynychaf gan gnoad ci cynddeiriog. Beth sydd yn ei achosi yn wreiddiol yn mysg rhywogaeth y ci a'r gath, nid yw hysbys; dywedai yr hen bobl mai tywydd sych, gwresog, a bwyta gormod o furgynod pwdr, a phrinder dwfr oer yw yr achos; ond mae eithriadau, oblegyd nid yw y clefyd hwn yn yr Aipht a Syria, lle mae y gwres a'r sychder mwyaf angherddol, a'r cwn yn cael y dibrisdod mwyaf: nid yw yn y *Cape of Good Hope*, lle mae y cwn yn byw ar furgynod, ac mewn prinder dwfr: ac nid yw y clefyd hwn yn *South America*. Amlwg yw nad gwres a sychder, a bwyta burgynod yw yr achos o hono bob amser; ond achosir ef gan bethau ereill; gall fod yr achos o hono yn mhlith y pethau na wyddys eto. Barnai yr hen physygwyr mai yn y gwaed yr oedd y gwenwyn yn aros, ac felly yr oedd gollwng gwaed yn rhan fawr o'r feddyginiaeth bob amser: ond barna meddygon diweddar mai nid y gwaed mae y gwenwyn yn cerdded, eithr y gewynau: dygant resymau cryfion i brofi mai anhwyldeb a berthyn i'r giau a'r gewynau ydyw.

Beth bynag, amlwg yw mai yn y claf-oerion mae y gwenwyn, ac mae y cnoad o lawer yn fwy peryglus ar y croen noeth na thrwy y dillad; nid oes fawr niwed yn yr archoll os bydd dillad trwchus am y lle, oblegyd bydd y dilledyn yn glanhau y gwenwyn oddiar y dannedd; ac y mae graddau yn y gwenwyn yn ol graddau y clefyd; pa fwyaf cynddeiriog y byddo

y ci, mwyaf angeuol yw y gwenwyn. Pan fo ci yn dygwydd cnoi anifail neu ddyn, dylid mynu sicrwydd, os bydd modd, a oedd efe yn wir gynddeiriog, trwy ei gylymu am rai diwrnodau : mae cannoedd o gwn wedi cael y cam mwyaf lawer pryd. Os bydd son am gynddaredd yn y wlad, mae pawb mewn braw, ac ar wyliadwriaeth bob mynyd ; braidd yr â neb dros y drws heb ryw arf angeuol; ac os gwelir rhyw gi dyeithr yn pasio, dyna yr *alarm* i maes, Ci cynddeiriog ! Ci cynddeiriog ! Canlynir ef â phastynau, pigau, a drylliau : pan welo y ci ddynion dyeithr ar ei ol, mae yn dechreu rhedeg ; yn y diwedd yn gollwng ei dafod allan, ac yn cnoi pob peth a fyddo yn ei ffordd, gan feddwl mai ei elyn yw ; ac ar ol hir redeg lleddir ef; ac â y gair allan mai ci cynddeiriog oedd, pan nad oedd dim ar y ci, ond gwylltu ar ol ei feistr pan wedi ei golli. Nid yw ryfedd bod pob math o feddyginiaeth yn iachau cnoadau cwn o'r fath hyn. Mae gan bob cymydogaeth ei meddyginiaeth rhag cnoad ci cynddeiriog, ac nid ydynt gan mwyaf ond math o swyn-gyfaredd. Y peth sydd wedi enill cymeradwyaeth anghyd-marol yn Neheudir Cymru, yw y llithfaen : mae y chwedlau ofergoelus a adroddir am hwn, yn warth mawr i'n tadau ; cafwyd y gareg, meddynt hwy, yn ddamweiniol, trwy i ddyn yn y gynddaredd ddiengyd i fynydd, a chysgu â'i ben ar gareg, ac iddo freuddwydio bod y gareg oedd dan ei ben yn feddyginiaeth i'w ddolur ; a phan deffrodd iddo gymeryd ychydig o honi, a gwella ; ac i'r gareg hon gael ei thori yn ddarnau, a'i gyru i wahanol gymydogaethau, a bod y darnau hyn yn para yr un faint o hyd, ond peidio a chodi tâl am y gyfaredd : cymaint a safo ar swllt yw y dogn, mewn llaeth claiar, dros dri boreu yn olynol. Dywedir na fethodd y feddyginiaeth unwaith erioed. Rhyfedd yw dynolryw am feddyginiaeth wyrthiol. Yr wyf yn methu dychymygu pa fodd y gallasai y fath beth wella y gynddaredd wirioneddol; ond gwnai y tro pan nad oedd y ci yn wir gynddeiriog. Nid oes dim yn fwy rhesymol nag i feddyginiaeth ddych-ymygol iachau clefyd dychymygol. Gwelais y gareg amrywiol o weithiau ; mae o liw llwyd-wyn, yr un fath yn gymwys â *Roman cement* heb ei losgi, heb na blas nac arogl ganddi, ond fel rhyw gareg nadd arall. Byddai yn anhawdd genyf fi anturio fy mywyd arni : nid oes ffydd gan bawb.


*Eryngo*


*Purging Flax*


*Fig Wort*


*Foxston*


*Fox Glove*


*Flax Weed*


*Yellow Flag*


*Frogbit*


*Fluellin*


*Fever Few*

Os gwelwch y nodau canlynol ar gi, gellwch benderfynu ei fod yn wir gynddeiriog :—Edrychiad trist a thrymllyd, ei glustiau a'i gynffon yn syrthio i lawr ; yn chwerw, yn amcanu cnoi dieithriaid, ac weithiau tylwyth y ty : ac ar ol hyn mae ei anadl yn fyr, a gwaith mawr yn ei gwman ; ei dafod yn crogi allan, ac o liw y plwm, a'i glafoerion yn rhedeg allan ; yn gwrthod ei fwyd, weithiau cydia mewn tamaid o fara, ond gollwng ef eilwaith o'i safn heb allu ei lyncu ; yn y diwedd â yn wyllt, ac i gnoi pob peth a ddelo yn ei ffordd, a rhed ymaith mewn pangfeydd arswydus, a'i lygaid yn gochion ac yn wyllt, a'i dafod allan, a'i glafoerion yn llifo, neidia i fyny i'r awyr ; parha fel hyn am ddau neu dri diwrnod, a threnga gan newyn a syched ; pa agosaf i drengu y bo, mwyaf gwenwynig fydd ei gnoad.

Yr arwyddion mewn dyn yw y rhai canlynol :—Y cnoad mewn amser yn dyfod yn boenus, rhyw wynegon yn ymsaethu trwy y corph, anesmwythder a blino, cwsg anesmwyth, breuddwydion dychrynllyd, troi yn y gwely, neidio a *startio*, ocheneidio, prudd-der, a chilio ar ei ben ei hun. Fe fydd yr arwyddion hyn yn cynyddu fwyfwy am ddyddiau, y clwyf yn caledu ac yn chwyddo, a phoen yn ymsaethu oddiwrth y cnoad i'r gwddf a'r llwnc, cyfyngder a gwasgfa yn y ddwyfron, a'r claf, druan, yn meddwl ei fod yn mogi bob mynyd ; ac ofni ac yn dychrynu rhag dwfr a phob gwlybaniaeth, er ei fod bron trengu gan syched, eto, pan ddygir dwfr at ei enau, neidia yn ol mewn pangfeydd marwol ; bydd pob archwaeth at fwyd yn awr yn darfod, eto gall lyncu rhyw damaid sych yn weddol rwydd. Y dyoddefydd yn cyfogi rhyw geri gwyrdd, y corph yn wresog, y rhydweliau yn curo yn gyflym ; y claf ddim yn gallu amrantu na chau llygad, y syched yn para o hyd yn angherddol, y tafod yn sych a garw, y llais yn crygu, llysnafedd a phoeredd gwydn yn dylifo o'r genau, ac yntau yn ymdrechu ei boeri yn barhaus ; pigiadau a gwaew yn yr arffed, yr anadl yn byrhau, a chyfyngder yn y fynwes, y claf yn methu siarad, yn myned yn afreolus, yn colli ei gydnabyddiaeth, yn myned i gyfarth fel ci : a dywed rhai awdwyr bod effaith y gwenwyn mor gryf, fel y mae llun cŵn yn ei ddwfr : o'r diwedd bydd natur yn gwanychu, ac yn trengu mewn pangfa farwol. Mae hwn yn un o'r doluriau mwyaf truenus ag y mae dyn yn

ddarostyngedig iddo; ac oblegyd ei boenau, a'r anallu i'w iachau, byddai yr hen feddygon yn gwaedu y trueiniaid i farwolaeth, neu yn eu mogi rhwng dau wely plyf.

Rhwydd gan bawb addef bod y clefyd hwn yn anhawdd ei feddyginiaethu, pan yr elo i'w eithafion mwyaf; ond nid yw yn anfeddyginiaethol. Mae y cyfarwyddiadau canlynol yn mysg y penaf at ei iachau; ac os cymerir hwynt mewn pryd, gellir dibynu arnynt:—Os bydd y cnoad mewn man y gellir ei dori ymaith, a meddyg o hyd cyrhaedd, nid oes dim diogelach; ond pan na ellir gwneyd hyny, perwch i'r archoll waedu yn helaeth, gellwch roddi rhwyg ynddo â chyllell, ond cofio ei wneyd ar hyd ac nid ar groes yr aelod, ac ar ol gwaedu yn dda, golchwch hi am amser â finegr neu dwfr a halen. Ar ol hyn eneiniwch y clwyf a'r aelod ag olew pêr yn dwym; a rhoddwch wlanen am yr aelod; rhaid i chwi ei eneinio lawer gwaith yn y dydd. Yna cymerwch un o'r meddyginiaethau canlynol:—*Native and factitious cinnabar, of each twenty-four grains; musk, sixteen grains, all in fine powder.* I'w cymeyyd oll ar unwaith, mewn gwydraid o *frandi.* Mae yr un dogn hwn yn diogelu y claf am ddeg diwrnod ar hugain, os cymerir ef mewn pryd; yna, yn mhen deg diwrnod ar hugain, rhaid cymeryd dogn eilwaith o'r un peth; mae hyn, bob amser, yn feddyginiaeth berffaith. Ond os esgeulusir y feddyginiaeth nes ymddangoso arwyddion amlwg o'r clefyd, rhaid cymeryd yr ail ddogn dair awr ar ol y cyntaf; ac os dychwela yr un arwyddion yn mhen mis neu chwech wythnos, rhaid cymeryd yr un fath ddogn eilwaith. Neu *purified nitre, half an ounce; Virginian Snake root in powder, two drams; Camphor, one dram; beat them together in a mortar, and divide the whole into ten doses.* Cymerwch un bob boreu. Neu cymerwch y ddiod ganlynol:—*Glanber's salts, three ounces; Juniper berries, one ounce; Senna, half an ounce.* Berwch y cwbl mewn tri pheint o ddwfr ffynon; pan oero, hidlwch a photelwch, rhenwch ef yn dri dogn; cymerer un bob boreu: yna, cymerer gwraidd Llydain y ffordd, gwraidd Crimp y dryw, a Llwyd y cŵn, tair wns o bob un; dail Rhyw, a dail Seads, chwech wns o bob un; dau ben o Arlleg; tynwch yr ewinedd o'r cibau, ac ysigwch hwynt; yr un modd ysigwch y gwreiddiau; berwch y cwbl

mewn pump peint o gwrw da, hyd oni threulio i bedwar; pan oero, hidlwch a chymysgwch am ei ben bedair wns o *Venice treacle*; potelwch, a chorciwch hwynt yn dda. Yfwch hanner peint bob boreu, dros saith boreu yn olynol; a pheidiwch meddwl am y gynddaredd mwy. Ni wn am ddim gwell i'w roddi i anifail a fyddo wedi ei gnoi.

Meddyliodd yr hynafiaid, y gallasai gwenwyn ci cynddeiriog lechu yn y corph am flynyddau cyn amlygu ei hun; parai hyn ofid i ddynion gweinion, trwy eu cadw mewn petrusdod am flynyddau Yr oedd y fath dyb yn berffaith ffolineb. Nid oes hanes credadwy am un ffaith bod y gwenwyn hwn wedi llechu yn guddiedig yn y corph ychwaneg na deg neu ddeuddeg mis: os â deuddeg mis heibio wedi yr amser y cafodd y cnoad, gall y dyoddefydd fod yn sicr ei fod yn berffaith ddiangol oddiwrth y cnoad hwnw am ei oes. *Ychydig iawn* o ffeithiau sydd iddo ddangos ei hun ar ol pasio deugain diwrnod; ac nid oes un ffaith yn profi bod y gwenwyn hwn yn dangos ei hun cyn pen saith neu wyth diwrnod. Os na amlyga ei hun yn mhen wyth diwrnod, gellir ei ddysgwyl eilwaith yn mhen deg diwrnod ar hugain neu ddeugain diwrnod; ond os na welir arwyddion am dano yn yspaid y deugain diwrnod cyntaf, mae y dyoddefydd *yn gyffredin* yn eithaf diangol oddiwrtho; ond os â pedwar tymor y flwyddyn heibio heb niwed, mae yn ddiogel.

## Llosg Cylla.—*Heartburn.*

Er nad yw y dolur hwn yn beryglus, eto mae yn boenus. Achosir ef gan wendid yn y cylla, annhreuliad, geri a llysnafedd surllyd yn ngenau y cylla. Dylai y rhai a flinir gan yr ingloes ofalu peidio yfed diodydd sur, na bwyta bwyd bras. Os bydd yr anhwyldeb yn deilliaw oddiwrth annhreuliad a gwynt, dogn neu ddau o *Rhubarb* a'i iacha; neu dê Sawdl y crydd a Llin y mynydd, dyrnaid o'r blaenaf, a llwy dê o *sweet spirits of nitre*, mewn cwpanaid o dê Ffa'r gors. Os bydd yn deilliaw oddiwrth surni yn y cylla, cymerer llonaid llwy dê o *Magnesia Alba* mewn dwfr oer, neu dê Ffa'r gors.

## Ig.—*Hiccup.*

Achosir ef gan ansawdd wrwstaidd gewynau y cylla a'r

llieingig, gorlwytho y cylla â bwydydd neu ddiodydd, neu archollion a chlwyfau yn y cylla, yr afu, yr ysgyfaint, neu rai o'r rhanau mewnol. Mewn pydredd-dod a thwymynon cydiadol, mae yr îg yn rhagflaenor angeu. Os bydd y clefyd yn wreiddiol, wedi ei achlysuru gan ormod o lwyth yn y cylla, gwydraid o win a'i iacha; neu hanner peint o ddwfr ffynon, neu ddwfr a finegr, yr un faint o bob un; neu yfwch dê cryf Lafant, a chymerwch ddogn neu ddau o ryw gyffyr rhyddhaol.

## Wrwst yn y Cylla.—*Cramp in the Stomach.*

Y MAE yr anhwyldeb hwn yn beryglus iawn, os na cheir esmwythder buan. Mae i'w briodoli i ansawdd ddrwg y gewynau; dynion mewn oed, o duedd bruddglwyfus, a'u gïau yn wan, yn gyffredin a flinir gan y dolur hwn. Os bydd tuedd cyfogi, yfwch ddwfr claiar yn helaeth, nes glanhau y cylla yn llwyr; yna yfwch dê y llysiau canlynol :— Camri, Lafant, Cribau St. Ffraid, a Ffa'r gors, yr un faint o bob un; a rhoddwch blastyr o *Venice treacle* ar y cylla.

## Hunllef.—*Nightmare.*

MAE yr anhwyldeb hwn yn ymosod ar ddyn yn ei gwsg, a'r dyoddefydd yn meddwl ei fod yn teimlo rhyw bwysau mawr ar ei ddwyfron a'i galon, yr hwn ni all yn un modd ei daflu ymaith; mae yn griddfan, yn ymdrechu galw a gwaeddi, ond yn methu; weithiau bydd yn gweled rhyw un yn ceisio ei ladd, ac yntau yn ymdrechu ffoi rhagddo, ond yn methu mewn un modd; bryd arall bydd yn dychymygu ei fod mewn tŷ, a hwnw ar dân, ac yntau yn methu myned allan; neu bydd yn gweled ei hun bron boddi mewn rhyw afon, neu dychymyga ei fod yn syrthio dros ryw graig fawr, heb un gobaith am ei fywyd, ac yn y cyffroad deffroa yn gyffredin.

Gwendid ac annhreuliad yn y cylla yw yr achos o'r anhwyldeb hwn; dynion o'r fath hyn ar ol bwyta llawer o swper, a hyny yn hwyr, a flinir yn fynych gan yr hunllef. Nid oes un feddyginiaeth yn well na gochelyd yr achosion. Bwyta swper ysgafn, a hyny ddwy awr o leiaf cyn cysgu, a chymeryd dogn, yn awr ac eilwaith, o ryw beleni rhyddhaol; neu dê Llin y mynydd a Sawdl y crydd.

## Llewygon.—*Swoonings.*

DYNION â gewynau gweinion a flinir gan y llesmeiriadau; a phan y byddont wedi gweithio neu gerdded yn galed, neu mewn cynnulleidfa o ddynion lle y byddo yr awyr yn ddrwg, y maent yn fwyaf tueddol iddynt. Mae rhai yn cael y llewygon ar amserau penodol, bob mis neu chwech wythnos, a hyny yn wastadol. Mae y cyfarwyddiadau canlynol yn rhai o'r pethau goreu rhagddynt, ac yn dra sicr i iachau pob math o honynt:—*Take Hiera picra, one ounce; Anise seed, Coriander seed, Fennel seed, Dill-seed, of each two drams, all in fine powder.* Rhoddwch hwynt oll mewn costrel, ac arnynt beint o *gin*, neu o ryw win gwan; corciwch y gostrel, a gadewch hi i aros yn agos i'r tân am dri neu bedwar diwrnod, gan gofio ei hysgwyd bob dydd; yna cymerwch o'r gloywon lonaid llwy de neu ddau, yn ol nerth y claf, ddwywaith y dydd. Yna rhaid i'r claf gymeryd y *cordial* canlynol:—*Aqua hysterica, four ounces; Mistura hysterica, three ounces; Mistura cordialis, half an ounce; Tinctura stomachica, three ounces, mixed.* Cymerwch dri llonaid llwy fwrdd o'r cymysg hwn ddwywaith y dydd. Dywedir bod y cymysgedd uchod wedi gwneud rhyfeddodau yn Nghymru ar ugeiniau a channoedd o gleifion, mewn llesmeiriadau, gwynt a gwendid yn y cylla, rhwystrau yn y rhanau mewnol, yn enwedig i'r rhyw fenywaidd. Maent yn feddyginiaeth anmhrisiadwy yn y laswst, attaliad y mislif, pangau y famwst, ac agos bob anhwyldeb y mae y rhywogaeth deg yn dueddol iddo.

Mae y cymysg canlynol yn hynod dda rhag y llewygon cylchynol:—*Gum Ammoniacum, two scruples; Galbanum, one scruple; dissolve them in six ounces of black cherry-water.* Cymerer llonaid llwy fwrdd o hono bob boreu, ac ar ddechreu y pangau. Rhaid ysgwyd y botel bob tro, a gwneyd yr un modd â'r cymysgedd o'r blaen. Mae tê y Cantwll a'r Uchelwydd yn dra neillduol.

Os syrthia dyn mewn llewyg gadewch iddo aros ar y llawr, os bydd ei wyneb yn welw; oblegyd os llewyg fydd wedi ei achosi gan orphwysiad y galon, gellwch beri angeu trwy godi y dyn i fyny, neu trwy ei waedu; ond os bydd y wyneb yn goch neu yn dywyll, codwch ef yn ei eistedd, a theflwch ddwfr oer ar ei ben: dwfr oer yw y peth goreu i'w adferyd.

## Iselder Ysbryd.—*Lowness of Spirits.*

ACHOSIR y dolur hwn gan wendid y gewynau; unrhyw feddyginiaeth a gryfhao y giau a'r cyhyrau, a'i symud ymaith. Marchogaeth, cerdded llawer allan yn yr awyr agored, treulio ambell awr yn mysg cyfeillion difyr, ac ymdrochi yn fynych mewn dwfr oer, yw y pethau goreu a ellir wneyd i'w symud ymaith. Pan byddo iselder ysbryd yn effaith rhyw glefyd, rhaid symud hwnw, ac yna diflana yr effaith. Mae y pethau canlynol wedi gwneyd daioni i laweroedd:—*Gum ammoniacum; one dram; gum assafœtida, half a dram; penny-royal water, six ounces; syrup of saffron, half an ounce; dissolve and mix them.* Cymerer llonaid llwy fwrdd ddwy neu dair gwaith y dydd. Neu *Gum ammoniacum and assafœtida, of each two drams; oil of cinnamon, sufficient quantity; mix and divide into forty-eight pills; take two every night.* Byddai yn dda i'r claf gymeryd dau neu dri dogn o ryw gyffyr rhyddhaol cyn dechreu ar y cyffyriau uchod. Mae tê un neu chwaneg o'r llysiau canlynol yn dda:—Ffa'r gors, Llysiau Cadwgan, Cribau St. Ffraid, a Seads.

## Crwp.—*The Croup.*

PLANT yn gyffredin a flinir gan y dolur hwn, a hyny ar ol tymor gwlyb; a phlant a fyddo yn byw mewn tai llaith, ac yn gwisgo dillad gwlybion. Arwyddion:—Y rhydweliau yn curo yn gyflym, yr anadl yn fyr ac yn cadw swn mawr, fel y clywir ef o bell, y llais yn grynedig, a'i wyneb yn llawn gwrid, ac weithiau yn goch-ddu.

Meddyginiaeth:—Rhoddwch draed y plentyn yn ddiatreg mewn dwfr cynes; os bydd mewn maint a grym, dylid gwaedu ychydig arno; yna ceisiwch gan fferyllydd wns o *tincture of assafœtida*, a phwywch dri neu bedwar o ewinedd Garlleg, cymysgwch hwy yn dda â'r amlifiad uchod; cneiniwch wddf a dwyfron y plentyn yn dda ag ef wrth y tân, a rhoddwch wlanen gynes am dano; gwnewch yr un modd eilwaith os bydd eisiau. Mae rhoddi plastyr bychan o Arlleg wedi eu pwyo am ben hen floneg, wrth wadnau y traed, weithiau yn ei iachau.

## Laswst.—*The Green Sickness.*

Merched ieuainc sydd yn agored i'r anhwyldeb hwn: achosir ef fynychaf gan ddiffyg llafur bywiog mewn awyr agored, eistedd mewn ystafell glyd wrth ryw waith na bo yn enill gwres naturiol i'r corph, ac yn malurio yr ymborth yn dda; gwisgo dillad gwlybion, ac yn rhy dyn, myned allan o'r tai heb ddim am eu coesau; hyn a ddinystria iechyd miloedd o fenywod, ac a haua hadau clefydau lawer. Arwyddion:—Marweidd-dra, blino, anadl byr wrth gerdded neu weithio, y galon yn curo yn gyflym, poen yn y pen, dim chwant bwyd, weithiau bydd ar y claf awydd mawr i fwyta pethau anmhriodol, megys halen, *chalk*, lludw, gwenith, ceirch, &c. Bydd yr wyneb yn welw, ac weithiau o liw plwm, neu yn lâs, y coesau a'r traed yn chwyddo, pwysau yn y lwynau, neu y galon yn dychlamu, yr arleisiau yn curo fel morthwylion, y pen ar hollti gan boen, weithiau yn y talcen yn benaf, bryd arall yn y gwegil; ac yn y diwedd mae y mislif yn attal yn hollol.

Meddyginiaeth:—Nid yw y clefyd hwn yn farwol oddieithr iddo fod o hir barhad, ac achosi clefydau ereill, megys y dyfrglwyf neu y darfodedigaeth. Pan ymddangoso rhai o'r arwyddion a nodwyd, dylid gochelyd yr achos, cymeryd digon o ymarferiad bob dydd yn yr awyr, ac yfed yn helaeth o'r ddiod ganlynol:—Y Wrysgen lwyd, Briw'r march, Teim, Dail blodau y gwenyn, gwraidd Cyngaw, dyrnaid o bob un; Rhyw, *Savine*, a Chrafanc yr arth, hanner dyrnaid o bob un ac wns o had Garddwy; naddwch y gwreiddiau, rhoddwch yr oll mewn llestr cauedig, ac arnynt bum chwart o ddwfr ffynon; berwch hwynt i lawr i bedwar chwart; pan oero, hidlwch a photelwch ef: yfwch beint y dydd: mae priodi weithiau yn feddyginiaeth rhag y dolur hwn.

## Attaliad y Mislif.—*Suppression of the Mensus.*

Nid yw yr anhwyldeb hwn ond parhad o'r clefyd blaenorol i'w eithafion pellaf; yr un pethau a achosant y naill a'r llall, ac y mae yr arwyddion yn gyffelyb. Mae y feddyginiaeth a nodwyd rhag y naill yn dda rhag y llall, ond gellir ychwanegu bod yfed té cryf y llysiau canlynol yn aml yn dda:—Persli, Ffenigl, Cnau'r ddaear, Marchalan, Llysiau'r

angel, Chwcrwlys, Mintys y gath, Camri, Llysiau'r Pwding, Llysiau'r cyrph, Llysiau Ifan, Isop, Llwyd y cwn, Rhyw, Scads, a Gwallt y forwyn. Neu gellwch gymeryd y meddyginiaethau a nodwyd i wella llewygon; ni wn am cu gwell; adncwyddant yr holl gyfansoddiad.

## Twymyn y Gewynau.—*Nervous Fever.*

Achosir hon gan unrhyw beth a fyddo yn trallodi y meddwl, neu yn llygru y gwaed, megys hiraeth, ofn, gofid, colli cysgu, darllen a myfyrio llawer, ymborth gwael, ffrwyth anaddfed, awyr afiach, gwlybaniaeth hir, dillad gwlybion, eistedd ar ddaear laith, gweithio yn rhy galed, prydiau bwyd anghyson, bwyta gormod weithiau, a rhy fach bryd arall. Nid oes llawer o bethau yn waeth i beri twymynon na pheidio bwyta bwyd yn ei amscr a'i fesur arferol. Arwyddion:—Ysbryd isel, diffyg blas at fwyd, blino ar ol cerdded, methu cysgu, ocheneidio, pwls isel, tafod sych, iasau o wres ac ocrfel, gwrid mawr yn yr wyneb, bryd arall yn welw; ysgafnder a phocn yn y pen, gloesygion, gwrthwynebedd; fel y bo y dolur yn cryfhau daw y pwls i guro yn gyflymach, y dwfr fel maidd. Tua'r nawfed, neu o hyny i'r ddeuddegfed dydd, bydd y claf yn debyg o gael rhyw dro ar ei ddolur; os daw y tafod yn fwy iraidd, yr ysgarthion yn weddol rydd, y chwys yn tori allan, y llinorod yn tarddu allan o gylch y trwyn, gellir penderfynu bod y claf yn gwclla: ond os bydd y corph yn rhydd iawn, a'r claf yn llewygu yn aml; os bydd y tafod yn crynu yn anghyffredin pan yr estyner ef allan, rhanau pellaf y corph yn oeri, y pwls yn anghyson, y gewynau yn neidio, y clyw a'r olwg yn pallu, syfrdandod mawr yn y pcn, a'r ysgarthion yn cerdded eu hunain, mae angeu yn agos: ofer yw ceisio meddyginiaeth.

Meddyginiaeth:—Rhaid i'r claf gael ei gadw yn llonydd, ond nid yn dwym iawn; rhaid ymdrechu cysuro y meddwl; nid oes dim yn waeth yn y dolur hwn na meddwl isel. Dylai y bwydydd fod yn feithrinol, ac ar yr un pryd yn ysgafn; da fyddai cymysgu ychydig win a'r bwyd, ond ni ddylid rhoddi gwin na gwirod o un math iddo i yfed, oddieithr ychydig o win gwyn, am ben maidd mwstard. Byddai yn dda cymeryd cyfog csmwyth ar ddechreu y dwymyn;

pymtheg neu ugain gronyn o *Ipecacuanha* fyddai oreu; os bydd y cylla yn parhau yn boenus, gellir adnewyddu y dogn dros ddau neu dri boreu; ond gofalu cyfogi cyn gynted ag y dangoso y clefyd ei hun; mae hyn fynychaf yn ddigon o feddyginiaeth. Ond os bydd ar y claf ofn cyfogi, geill gymeryd dogn o ryw feddyginiaeth ryddhaol, megys *Rhubarb* neu *Senna*. Yfwch dê cryf y llysiau canlynol:—Llysiau Cadwgan, dail Blodau'r gwenyn, Cribau St. Ffraid, a Llysiau y gerwyn; yr un faint o bob un. Neu os bydd arwyddion drwg yn ymddangos, a nerth y claf yn darfod, rhaid myned at fferyllydd i geisio y pethau canlynol:—*Virginian Snake-root, and Contrayerva root, of each ten grains; Russian Castor, five grains; all in fine powder: make them into bolus, with syrup of Saffron.* Nid yw yr hyn a enwyd ond un dogn; rhaid i chwi geisio chwech neu wyth o'r fath gan y fferyllydd, a rhoddi un i'r claf bob pedair awr.

## Twymyn Gydiadol.—*Putrid or Typhus Fever.*

ACHOSION:—Awyr anmhur, a diffyg glanweithdra. Mae y dwymyn hon yn tori allan yn gyntaf, bob amser, mewn trefi lle y byddo yr heolydd yn gulion a bawlyd, a llawer o ddynion yn cyd-aneddu, ac yn peidio glanhau eu crwyn; mae bwyta llawer o gig, yn enwedig pan byddo wedi hanner braenu, yn ddrwg, yr un modd mae ŷd eginllyd a dwfr llonydd; cadw cyrph meirw yn rhy hir heb eu claddu weithiau a lygra yr awyr, ac a genedla y clefyd dychrynllyd hwn; yr un modd y gwna gwaed a sothach anifeiliaid o gylch tai cigyddion. Diffyg glanweithdra yw y *prif* achos: defnyddiau pwdr a drewedig ar y ddaear sydd yn llygru yr awyr bob amser, ac awyr llygredig yn wastadol sydd yn trosglwyddo y gwenwyn i'r cyfansoddiad dynol, trwy gyffwrdd a'r gwaed yn yr ysgyfaint wrth ei anadlu. Unwaith y dechreuo y dwymyn hon, mae fel y pla, yn cydio oddiwrth y claf yn yr iach, pan yn anadlu yn yr un ystafell ag ef; weithiau trosglwyddir hi o un man i'r llall, o dŷ i dŷ, ac o'r dref i'r wlad, gyda dillad, offerynau, neu nwyddau.

Dylai y mynwentydd fod yn mhell allan o'r trefi, dylid lladd yr holl anifeiliaid allan o'r cyfryw leoedd, lledaenu yr

heolydd, a gollwng digon o ddwfr ac awyr trwy y tai. Mae y mesurau a basir o bryd i bryd yn y Senedd-dai, gan y llywodraeth yn tueddu yn fawr i ddyogelu iechyd a chysur deiliaid Prydain.

Arwyddion :—Gwendid mawr a blino anghyffredin, fel nas gall y claf gerdded nac eistedd heb lewygu ; y meddwl yn gythryblus iawn, mae efe yn ocheneidio ac yn ofni, gloesygion, cyfogi geri, poen ffyrnig yn y pen, a'r arleisiau yn curo yn gryf iawn, y llygaid yn goch ac yn serenu, a phoen yn eu gwreiddiau ; swn yn y clustiau, cyfyngder yn y ddwyfron, yr anadliadau yn gymysgedig ag ocheneidiau ; poen mawr yn y cylla, y cefn, a'r lwynau ; y tafod ar y cyntaf yn wyn, wedi hyny try yn ddu ; bydd y dannedd hefyd yn ddu, y cof yn pallu, a gorphwylldra hollol ar amserau ; *spotiau* cochddu ar y croen, yr ysgarthion a'r anadl yn arogli yn drwm, y gwaed weithiau yn rhedeg o'r genau, y ffroenau, &c. Mae bod y corph yn myned yn rhydd tua'r pedwerydd neu'r pummed dydd, chwys cynes yn tori allan, llinorod yn tarddu ar y croen, crach o gylch y trwyn a'r genau, neu ryw gasgliad mawr yn tori allan, yn arwyddion ffafriol iawn. Ond os bydd y corph yn rhydd, chwydd mawr yn y bol, *spotiau* duon mawrion yn tori allan o'r croen, annheimladrwydd yn y genau, chwys oer glydiog, dallineb, y llais yn newid, y llygaid yn wylltion, methu llyncu, taflu y dillad oddiar y gwely, y chwys a'r poer yn gochlyd, y dwfr yn dywyll, a gwaddod du fel huddygl ynddo, yr ysgarthion yn cerdded heb genad, a'r rhanau pellaf yn oeri ; bydd y pethau hyn yn darogan fod angeu yn agos iawn.

Cyfarwyddiadau :—Dylid gofalu am awyr iachus, a glanweithdra ; taenellwch finegr ar hyd yr ystafell, a thaflwch haiarn poeth i lestr â finegr, hyd oni lanwer yr ystafell â'r agerdd. Gwasgarwch lawer o'r llysiau canlynol o gylch gwely y claf :—Rhyw, Rhosmair, Tansi, a Chwerwlys llwyd. Cedwch ddystawrwydd : rhoddwch iddo ychydig win wedi ei gymysgu â sudd yr eurafal *(orange)*. Mae tê blodau Camri yn dda hynod yn yr amgylchiad hwn, a rhoddi deg neu bymtheg diferyn o *elixir of vitrol* yn mhob gwydraid. Neu yfwch dê dail Surion y coed yn helaeth, yn nghyd a'r un faint o Lysiau'r gerwyn. Os bydd syfrdandod mawr yn y pen, gwnewch drwyth cryf o flodau Camri a dail y Fedd-

alai, a mwydwch draed a dwylaw y claf yn fynych ag ef yn dwym; gwna hyn ddaioni annhraethol. Mae gwaedu a chwysigenu fynychaf yn ddrwg yn y clefyd hwn.

Gan fod yr afiechyd hwn mor gydiadol a'r pla, ni ddylai neb anturio i'r tai lle y byddo heb fod rhyw angenrheidrwydd mawr, nac aros yn yr un ystafell a'r claf ond mor lleied ag a ellir; ac os byddwch yn barnu bod y dwymyn wedi cydio ynoch, cymerwch gyfog yn ddiatreg, ac yfwch ddigon o de blodau Camri, i beri iddo weithio; a rhwbiwch Rhyw wrth eich trwyn.

## Ddurton.—*Ague.*

ACHOSIR y clefyd fynychaf gan wlybaniaeth ac oerfel, gweithio mewn corsydd, gweithio allan y nos, byw mewn tai gwlybion, neu ryw beth a gauo y chwysdyllau. Arwyddion: Poen yn y pen a'r lwynau, ystyffdra yn yr aelodau, y traed yn oerion, ymestyn a dylyfu gen, anhwylusdod yn y cylla, tuedd cyfogi, a chryndod mawr; yn mhen ychydig bydd y croen yn ireiddio, chwys yn tori allan, gwres mawr trwy yr holl gorph, a gwrid yn yr wyneb.

Cyfarwyddiadau: — Cymerwch gyfog; pum gronyn ar hugain o *Ipecacuanha* fyddai oreu, a digon o de blodau Camri i'w weithio; ar ol y llonyddo eich cylla, yfwch dê cryf Ysgol Fair. Neu dê y Pumnalen, neu dê Llysiau'r Gerwyn, neu dê Ffa'r gors; neu yfwch yn helaeth dê rhisgl Helygen; neu cymerwch *Peruvian bark in fine powder, two ounces; divide it in twenty-four doses;* cymerwch un o'r rhai hyn mewn cawl dwfr, neu dê un o'r llysiau a enwyd, bob dwy awr; o'r hyn lleiaf, cymerwch gymaint a chwech dogn yn y dydd rhag y cryd beunyddiol: ond os na bydd yn dychwelyd ond bob dau, tri, neu bedwar diwrnod, gwna llai o ddognau yn y dydd y tro. Os bydd y corph yn rhwym, byddai yn dda i chwi gymeryd dogn neu ddau o ryw gyffyr rhyddhaol; a pheidiwch a rhoddi y feddyginiaeth heibio yn rhy fuan.

## Tan Iddwf.—*Erysipelas.*

GELWIR y clefyd hwn mewn rhai parthau o Gymru y *blast*, mewn parthau ereill, yr awel a thân St, Antwn: ymosoda y

clefyd hwn yn fwyaf cyffredin ar y cluniau a'r gwyneb. Achosir ef weithiau gan nwydau aflywodraethus, megys ofn, llid, hiraeth, &c.; ond achosir ef fynychaf gan anwyd, dynoethi y corph pan yn chwysu, a thrwy hyny beri i'r chwysdyllau gau yn sydyn, pan byddo y corph yn wresog: yfed gwirodydd poethion yn fynych a'i cynyrcha. Arwyddion:—Cryndod a syched, blino mawr, poen yn y pen a'r cefn, gwres, anesmwythder, y rhydweliau yn curo yn gyflym, gwrthwynebedd a chyfogi, ac weithiau syfrdandod; tua'r trydydd neu y pedwerydd dydd, bydd poen arosol mewn rhyw fan, a chwydd. cochni, a llosgfa, y croen yn edrych yn ddysglaer, ac weithiau rhyw linorod bychain yn codi ar hyd-ddo.

Meddyginiaeth:—Cymerwch ddogn o ryw gyffyr rhyddhaol yn uniongyrchol, a rhoddwch eich traed mewn dwfr cynes, yn enwedig os bydd yr anhwyldeb wedi ymaflyd yn yr wyneb: ond os mewn rhyw aelod y bydd, trowch wlanen gynes am y lle, ac yfwch yn helaeth dê *Celery*, neu dê Seads gwylltion, a gwraidd Crimp y dryw; neu dê Pig yr aran a Llysiau'r gerwyn; neu dê *Sassafras;* neu yfwch beint y dydd o ddwfr *tar*, yr hwn a wneir fel hyn:—Cymerwch beint o *Barbadoes tar*, neu *Norway tar*, rhoddwch ef mewn llestr pridd glân gloyw, a dau chwart o ddwfr ffynon arno, cymysgwch yn dda am ddwy neu dair mynyd; gadewch ef i sefyll am wyth awr a deugain; yna diewynwch ef yn gynil, tywalltwch y gloywon oddiarno, rhoddwch y gloywon hyny mewn potelau, a chedwch mewn lle oer. Gellwch wneyd galwyn ar y tro, ond i chwi roddi chwart o *dar* yn lle peint. Mae dwfr *tar* yn un o'r pethau goreu ag a gall dyn gael byth i sychu pob hylif drwg o'r corph, hen glwyfau a chornwydon yn y coesau, y manwynion, peswch, diffyg anadl, a'r darfodedigaeth ei hun, os na bydd wedi myned yn rhy bell i'r ysgyfaint. Mae hefyd yn awchu y cylla, yn puro y gwaed, ac yn adgyfnerthu natur oll.

Hefyd, dywed Dr. Stephenson, o America, mai y feddyginiaeth oreu i'r clefyd hwn, yw gosod dail *tobacco* ar y lle dolurus, a'u gadael yno nes y teimlir tuedd i gyfogi.

Mae sugaethan o Geiros y waen *(Cranberries)* wedi eu malurio yn fân, heb eu trin mewn un modd arall, wedi bod yn feddyginiaeth effeithiol lawer gwaith i'r dolur peryglus hwn.



Good King Henry



Honeywort



Least Houseleek



Haresfoot



Juniper Shrub



Liver Wort



Water Mint



Jacinth



Knapweed



Jack by the Hedge



Milk Wort

# CYFARWYDDIADAU BUDDIOL I DEULUOEDD.

*I buro ystafell y claf.*—Cauwch ffenestri yr ystafell, a'r drysau oddieithr un; cauwch y simnai hefyd, oddieithr 2 neu 3 modfedd yn y gwaelod, a symudwch yr holl ddodrefn haiarn a phres; yna rhoddwch dri lloned llwy bwrdd o halen cyffredin mewn dysgl, ar lawr yr ystafell, a thywelltwch chwarter peint o *oil of vitrol* ar yr halen; ymadewch, a chauwch ddrws yr ystafell dros wyth awr a deugain. Yna gellir agor y drysau a'r ffenestri, cyneu tân ynddi, er ei hawyru yn briodol.

*I attal heintiad.*—Cymerwch hanner wns o *Spirits of Camphor*, hanner peint o ddwfr, a phump wns o *Pyroligneous Acid*, a chymysgwch hwynt. Taenellwch y cymysg hwn ar lawlian, ac aroglwch ef yn awr ac eilwaith.

*I attal drygliwiad y croen ar ol ergyd neu gwymp.*—Tynerwch ychydig o *Starch* sych neu *Arrow-root* mewn dwfr oer, a rhoddwch ef wrth y fan a ddoluriwyd, yn ddioed, os gellir; ond gwna les ond ei roi yn mhen ychydig o oriau wedi hyny.

*I wella y ddannodd.*—Dywedir fod llenwi y genau â dwfr twym, ac yna yn ddioed ei lenwi â dwfr oer wedi bod yn effeithiol i'w iachau. Dywedir hefyd fod Alum wedi ei wneuthur yn bowdr, nid yn unig wedi gwella y ddanodd, ond hefyd wedi cadw y dant rhag gwaethygu.—*Gweler tudal. 179.*

*I attal gwaedrediad gormodol archoll.* — Cymysgwch ychydig o flawd a finegr, a rhoddwch y *paste* ar yr archoll.

*Clefyd y Brenin.*—Berwer mewn bloneg ar dân araf, lysiau Lygad Ebrill, a dail menyg y Llwynog, a gwnewch yr oll yn blastyr. Doder y plastyr yn lled dwym ar y man dolurus; a newidier y plastyr yn gryn aml, dros ychydig o wythnosau. Golcher y lle dolurus â dwfr ffynon oer, cyn dodi y plastyr newydd wrtho. Hefyd, berwer Celyn y môr, mewn dwfr, ac yfer y trwyth dair gwaith yn y dydd, yn enwedig yn y bore. *Gweler tudal. 199.*

*I beri tyfiant gwallt.* —Cymerwch yr un faint o *Olive oil* a *Spirits of Rosemary*, a chwanegwch ychydig ddiferion o *oil of Nutmeg*. Irwch ychydig o'r enaint hwn yn y gwallt bob nos, a bydd yn debyg o wneud daioni. Mae trwyth cryf rhisgl Derwen wen yn rhinweddol iawn i gadw gwallt rhag syrthio. Golcher y pen yn aml ag ef.

*I buro yr anadl ar ol bwyta wynwyn* —Bwytewch ychydig o ddail persli *(parsley)*, gyda finegr. Gwna hyny ateb y dyben.

*I ladd pryfaid ar blanhigion.*—Rhoddwch ddau chwart o ddwfr berwedig ar hanner pwys o Tobacco, a hidlwch ef yn mhen tuag ugain mynyd; a phan yn oer, taenellwch ef ar y planhigion. Neu cymysgwch ychydig o *tar* a dwfr, a gwnewch ef yn y modd uchod.

*I gadw y traed yn sybyr a rhydd oddiwrth gyrn.*—Golchwch eich traed mewn dwfr oer bob bore, a sychwch hwynt yn hollol sych. Gofalwch fod yr hosanau, yn gystal a'r esgidiau, yn ddigon helaeth. Torwch yr ewinedd yn aml.

*Diffyg anadl.*—Gall y cyfarwyddiadau canlynol fod o les mawr i bersonau a flinir gan y dolur poenus hwn :—Rhodder *tea-kettle* i ferwi. Rhodder pibell alcan *(tin-tube)* am bibell y *tea-kettle*, un ddigon hir i arwain y gwres o'r *tea-kettle* o flaen wyneb y claf, fel y gallo anadlu o hono. Gwna hyn rwystro yr awyr oer i fyned i'r ysgyfaint, ac felly esmwytho y dolur. Neu, rhoddwch len o *blotting paper* mewn *saltpetre* wedi ei doddi; sychwch hi, a chymerwch gymaint a lled llaw o honi, rhoddwch ef ar dân, a rhoddwch ef ar ddysgl yn eich ystafell-wely. Cafodd llawer les mawr trwy hyn; cawsant gysgu agos mor esmwyth a phan yn hollol iach. Neu, cymysgwch ddwy wns o'r mêl goreu ag wns o *Castor oil*, a chymerwch lonaid llwy dê o'r cymysg, foreu a hwyr. *Gweler chwaneg arno mewn man arall dan yr un gair. tudal. 183.*

*Diffyg archwaeth at fwyd.*—Mae y dolur hwn yn cael ei achosi yn fynych trwy yr arferiad maith o dê twym, gwin, neu wirodydd ereill a wanheir â dwfr cynes, neu yr arferiad o ddwfr cynes wrtho ei hun dros amser hir. Mae pryder

meddwl, eistedd llawer, a bol-rwymedd, hefyd, yn ei achosi. I adnewyddu grym y cylla cymerer y cyfog canlynol :—Un *scruple* o *Ipecacuanha*, tê Rhuddygl y meirch *(horse raddish)*, tua dwy wns, wedi eu cymysgu. Rhwng y gwahanol gyfogiadau, yfer hanner peint o dê Rhuddygl y meirch ddwywaith neu dair. Wedi hyny cadwer yr ymysgaroedd yn dymherus.

*Y Brstwn* (*Felon*).—Mor fuan ag y teimlir poen, cymerer pilen wen deneu ŵy, yr hon sydd nesaf at y masgl ; rhodder hi o gylch y bys dolurus, a chadwer hi yno nes y llaeso y poen. Wedi i'r bilen sychu, â y bys yn boenus ; ond ni phery y poen yn faith, ac mae y bys yn debyg o wella.

*I wella twymyn a chryd.*—Tua awr neu ddwy cyn y delo y pwng, cymerwch ŵy newydd gael ei ddodwy, mewn gwydraid o finegr, ac ewch i'r gwely. Bu hyn o les i laweroedd.

*I ostwng tewdra.*—Ni ddylai dynion a flinir gan dewder gysgu mwy na chwech awr o bob pedair awr ar hugain. Dylent gerdded, gweithio, &c., gymaint ag a allont ; gochelyd hufen llaeth, diod frag, a *soup*. Mae cig hallt yn dda, am y tuedda i beri chwys, a lleihau tewdra. Mae *Soda Water* hefyd yn llesiol.

*I dewychu*.—Nid yw teneuder yn afiechyd ; mae pobl deneuon, yn gyffredin, yn iachus a chryfion, ac yn mwynhau eu hymborth. Ond pan byddo gwendid, yr ysbryd yn soddi, a'r ymborth ddim yn treulio, mae rhyw nychdod yn bod. Cymerer cwpanaid o laeth, newydd ei odro, os gellir ei gael, a rhodder ŵy neu ddau ynddo, curer yr oll yn dda gyd a'u gilydd, ac yfer y gwlybwr hwn.

*Llecheira (chiblains)*.—Mwydwch y lle dolurus mewn dwfr a bran cynes, yna rhwbiwch ef yn dda â blawd had mwstard. Gwnewch hyn cyn y toro y dolur allan. Neu, torwch wynwyn yn dafellau tewion ; a rhwbiwch y fan yn dda â hwynt, ddwy neu dair nos, o flaen tân cryf, a chewch iachad buan.

*Tarddwden.*—Cymerwch ychydig o *Sulphuric acid*, ac

ychydig ddwfr. Rhoddwch y cymysg hwn â phlyfyn ar y fan ddolurus nos a bore, dros ychydig o weithiau. Gwna hyny y tro yn gyffredin. Gofaler peidio gwneuthur y cymysg yn rhy gryf; a gochelwch roddi sebon ar y fan. Os bydd y lle yn boeth a chynhyrfus iawn, golchwch ef yn unig â dwfr cynes dros ychydig cyn arfer un moddion ereill ato.

*Y gymalwst a'r gewynwst.*—Cymysgwch hanner wns o *cream of tartar*, pwys o fêl, hanner wns o *flour of sulphur*, dau *ddram* o bowdr ginger, hanner nutmeg, wedi ei rhwbio yn bowdr. At y gewynwst chwanegwch hanner dram o bowdr *gum-guaiacum*. Cymerwch ddau lonaid llwy dê o'r cymysg hwn hwyr a bore mewn cwpanaid o ddwfr cynes. Arferir y moddion hyn yn Ysbytty Chelsea.

*Anwyd-haint (Influenza).*—Gair Italaidd yw hwn; arferwyd ef gyntaf oddiar y dyb fod gan y ser ddylanwad ar amgylchiadau dynion Pan dorai rhyw glefyd allan yn sydyn, heb fod y cyffredin yn gweled un achos neillduol yn ei beri, priodolent ef i ddylanwad rhyw seren. Achosir ef gan awyr afiach yn codi o dir gwlyb, &c. Os na fydd y dolur yn drwm iawn, mae i ddyn gyfyngu ei hun i awyr pur, yfed pethau cynes, mwydo y traed mewn dwfr cynes, rhoddi *blanket* chwanegol ar y gwely, a gorphwys ychydig; cadw at fwyd tyner, a dwfr a chrystyn, a dogn o gyffyr rhyddhaol, yn gyffredin yn ddigon. Os metha hyn, rhodder plastyr o fwstard ar y cefn: gwna hyn esmwytho y poen yn y pen; cymerir rhywbeth hefyd i esmwytho y peswch, megys *squills*, &c., a gellir dysgwyl iachad.

*Crygni.*—Cymerwch ddarn o wlanen, gwlychwch ef mewn *brandy*, rhoddwch ef ar y ddwyfron, rhoddwch wlanen sech ar hyny, a gadewch yr oll dros y nos. Mae tri neu bedwar o wynwyn, wedi eu berwi, a'u rhoddi ar fara ac ymenyn *(toast)* cynes i swper, hefyd yn dda iawn i esmwytho anwyd yn y ddwyfron.

*Y frech goch (Measles).*—Mae y dolur hwn yn un poenus a pheryglus, ac ni ddylai gael ei esgeuluso. Dibyna llawer

ar ei drin ar ei ymddangosiad cyntaf, pan ddechreuo y dwymyn. Arwyddion :—Teimla y dyoddefydd grynod, ac oerfel, rheda dwfr tenen o'r trwyn a'r llygaid ; ymddangosa y llygaid yn gochion ; canlynir hyn gan beswch a chrygni. Pery yr arwyddion hyn i gynyddu nes y toro y frech allan, yna lleihant yn raddol. Gan fod y clefyd hwn yn fynych yn tueddu at bydredd, yr hwn ni ellir ei wrthwynebu ond trwy rym cyffyriau, a'r hwn, os caiff ei esgeuluso, neu ei gam drin, a derfyna yn fynych yn angeuol, dylid galw cymorth rhyw ddyn medrus yn ddioedi. Ond fel na choller dim amser, gellir rhoddi cyfog esmwyth i'r claf, a'i roddi drachefn bob hanner awr nes y cynhyrfer cyfogiad. Os na chynhyrfa yr ymysgaroedd, gellir rhoddi dogn o ryw gyffyr rhyddhaol bob pedair awr, hyd nes y gweithio, ond peidier a'i roddi wedi hyny. Dylid gofalu am gadw yr awyr o gylch y claf yn dymherus, ddim yn gynes iawn, rhag i'r dwymyn gynyddu ; os na bydd yr awyr yn lled gynes, bydd perygl i'r peswch a'r crygni gynyddu. Rhaid gochelyd pob diod eplesedig ; gellir defnyddio dwfr oddiar grystyn, *barley-water*, *apple-water*, dê, coffi, &c., yn helaeth, ond gofalu eu bod yn ngwres llaeth newydd odro. Ond iddo gael ei drin yn briodol, nid oes berygl mawr yn y clefyd hwn, oddieithr ei fod yn drwm iawn, neu fod ysgyfaint y claf yn ddrwg, a bod y darfodedigaeth wedi gafaelu ynddo.

*Y frech wen (Small Pox).*—Bernir mai yn y chwechfed canrif ymddangosodd y clefyd hwn gyntaf yn y wlad hon. Llynorod ydyw yn tori allan, ac yn crawnu, yn gyffredin, mewn o wyth i ddeg diwrnod. Gan ei fod yn glefyd peryglus teilynga sylw neillduol. Gwnawd cynyg yn Llundain yn y flwyddyn 1770 i impio y clefyd *(vaccination)* er mwyn ei wanhau a'i attal. Gwnaed hyn yn Constantinople tua 30 mlynedd cyn hyny. Erys y dolur yn y cyfansoddiad o saith i ddeuddeg diwrnod cyn crawnu; weithiau, o hyny i un diwrnod ar hugain. Arwyddion :—Yn ystod yr amser hwn mae y claf, yn fynych, yn myned yn wanaidd a phruddaidd, metha y cylla dreulio ymborth, a bydd y cwsg yn anesmwyth ; teimlir cryndod, yr hyn a arwydda ddechreu y dwymyn ; teimlir tuedd cyfogi, ysgafnder a phoen yn y pen. Mae plant, pan fel hyn, yn

gysglyd, a chânt lewygon ysgafn; delir personau mewn oed, yn aml, â syfrdandod. Yn gyffredin dechreua y llynorod grawnu yn mhen wyth awr a deugain wedi dechreuad y dwymyn; anaml cyn hyny; byddant weithiau tua 72 awr weithiau cyn y crawnant. Dylid sylwi ar yr arwyddion hyn, fel y galler gwahaniaethu y frech hon oddiwrth y *nettle-rash*, a'r frech goch. Dechreua y frech wen dori allan, agos bob amser, ar y talcen a'r arddyrnau, ac yn raddol lleda dros y corph, yr hyn a gymer le mewn pedair awr ar hugain, yn gyffredin, neu mewn 36 awr o hwyaf. Os bydd y dolur yn drwm iawn, bydd llif yn rhedeg o'r trwyn, yr ysgyfaint, y cylla, a'r ymysgaroedd. Mewn benywod rheda y mislif yn helaeth; ac, yn fynych, erthyla y rhai a fyddant yn feichiogion. A phan addfedo y llynorod, gwelir manau du-las yn eu plith; a bydd y llygaid yn gochion. Yn y cyflwr hwn gelwir y dolur weithiau, y frech ddu, a therfyna yn fynych yn angeuol yn mhen tua phump neu naw diwrnod. Triniaeth:—Cymerer rhyw bethau tyner i oeri y gwaed. Os bydd poen llym yn y cylla, y lwynau, neu y pen, mae gwaedu ychydig yn y fraich, a chyffyr rhyddhaol, wedi gwneuthur lles. Os bydd rhanau pellaf y corph yn oeri, rhodder sugaethan o fwstard wrthynt, ac yfer ychydig o frandi. Pan fyddo y llynorod yn dechreu addfedu, rhodder y traed yn fynych mewn dwfr twym; os bydd poen yn y gwddf gellir ei esmwytho â thwym-olch. Os bydd y claf yn poeri llawer o lysnafedd glydiog, ac yn teimlo gwres mawr yn yr ymenydd, gwaeder ychydig yn y fraich. Mae yr ymborth i fod yn dyner ac oeraidd. Cadwer yr ystafell yn lled dywyll, a'r gwallt yn fyr. Os bydd curiad y galon yn wan, y croen yn oer, a'r llynorod yn araf yn llenwi, dylid cryfhau y cyfansoddiad â *soups* ac ychydig win. Tua diwedd yr afiechyd hwn mae cyffyriau rhyddhaol, megys *rhubarb*, *senna* a *salts*, neu *castor oil*, yn llesiol iawn. Os bydd y llynorod yn aml iawn, dylid cryfhau cyfansoddiad y claf â *beef tea*, *porter*, ac ychydig o win. Er mwyn sychu y pen-dduod, da fyddai taenu blawd, powdr *starch*, &c., ar hyd-ddynt.

*Mamog*, *Mamwst*, *Mamglwyf* (*Hysterics*). — Teimla y dyoddefydd anesmwythder yn yr ymysgaroedd, yn codi i'r cylla, ac oddiyno i'r gwddf, ac ofna y bydd iddi fogi. Mae

y galon, hefyd, yn curo yn gyflym, blinir hi gan fol-rwymedd, oerfel traed, &c. Er cadw rhag ymosodiadau y clefyd hwn, dylid cymeryd y cyffyr rhyddhaol canlynol :—*Of infusion of Senna, one ounce and a half; tincture of Senna, tincture of Cardamons, of each half an ounce.* Cymerwch dri lloned llwy fwrdd o'r cymysg hwn yn awr ac eilwaith. Cedwch y traed a'r coesau yn gynes; y pen yn oer; bwytewch gig-fwyd hawdd i'w dreulio, megys cig llwdn; gochelwch lysieu-fwyd a diog frag, a phob peth gwyntog yn ei natur. Yfwch ddwfr oddiar grystyn, tè neu goffi, yr un a hoffoch. *Gwna taflu ychydig o ddwfr oer ar y wyneb y tro yn fynych.*

*Gwefusau dolurus.*—Os bydd eich gwefusau yn agenu, rhoddwch bedair wns o *Olive oil*, ac wns o wraidd Llys y Gwrid *(Alkanet)* mewn costrel, corciwch hi yn dỳn, a rhoddwch hi dros rai dyddiau yn yr haul, ysgydwch hi yn fynych nes y delo yn glir; yna hidlwch yr olew oddiwrth yr *alkanet*, chwanegwch ato un wns o gŵyr gwyn, ac wns a hanner o *Mutton Suet* wedi ei glaeru; rhoddwch y cymysg i ledferwi ar dân araf. Pan ddechreuo oeri, cymysgwch ag ef ychydig ddiferynau o ryw *perfumed oil.* Rhoddwch ychydig o'r cymysg hwn ar yr agenau.

*Gewynwst (Rheumatism).*—Maluriwch un wns o *Gum Guaiacum*, a rhoddwch ef mewn peint o *French Brandy*, a gadewch ef i sefyll dros, o leiaf, 30 awr. Wedi i'r *gum* doddi, ysgydwch y gostrel, a thywelltwch ychydig o'r cymysg hwn i gwpanaid bychan o ddwfr claiar; ac yfwch ei dros dair neu bedair nos wrth fyned i'ch gwely, a byddwch yn debyg o gael esmwythad oddiwrth y dolur llym hwn.

*Gwddf-olch (Gargle).*—I wella gwddf dolurus, rhoddwch o 25 i 30 dalen o Seads mewn llestr, rhoddwch arnynt beint o ddwfr berwedig; cauwch y llestr i fyny dros hanner awr. Chwanegwch ddigon o finegr i chwerwi ychydig arno. Defnyddiwch ef fel gwddf-olch amrywiol o weithiau yn y dydd. Os bydd y gwddf yn archolledig, pobwch neu rhostiwch bedwar neu chwech o wynwyn, nes y byddont yn dyner. Dirisglwch hwynt yn gyflym, a gwasgwch hwynt yn deneu â chostrel neu rywbeth pwrpasol arall. Yna rhoddwch hwynt yn ddioed mewn *muslin* teneu ag y gyrhaeddo o glust

i glust, ag a fyddo tua 3 modfedd o led. Rhoddwch hwynt mor dwym ag y galloch wrth y gwddf; cedwch hwynt wrtho nos a dydd, a newidiwch hwynt pan dybioch fod nerth y wynwyn yn colli, a rhoddwch rai ereill yn yr un modd. Gwisgwch wlanen am y gwddf ar ol symud y sugaethan.

*Sugaethan Cedw (Mustard Poultice).*—Gwnewch gwdyn, o *muslin* teg, o'r maintioli gofynol; cymysgwch gedw a blawd yn nghyd, ychydig yn fwy o gedw nag o flawd, â dwfr berwedig, nes byddo o drwch priodol. Rhoddwch ef yn y cwdyn, gwnïwch ef, gan ei guddio â darn o lian teg tyner, a rhoddwch ef ar y lle dolurus. Wedi ei adael yno hyd nes y byddo braidd yn anoddefol, cymerwch ef ymaith, a rhoddwch ddarn o lian yn ei le.

*Sugaethan bara.*—I wneuthur y sugaethan hwn, rhydd Mr. Abernethy y cyfarwyddyd canlynol:—Rhoddwch hanner peint o ddwfr cynes mewn cawg a ddalio beint; chwanegwch ato gymaint o friwsion bara ag a allo y dwfr guddio; yna rhoddwch ddysgl ar y cawg dros yn nghylch deg mynyd; cynhyrfwch y bara yn y dwfr, neu, os bydd angen, torwch ef â min cyllell, a gollyngwch y dwfr ymaith, trwy ddal y gyllell ar ymyl y cawg, ond peidiwch gwasgu y bara, fel yr arferir gwneuthur. Yna cymerwch ef allan yn ofalus, lledwch ef tua un rhan o dair o fodfedd o drwch ar lian teg, a rhoddwch ef ar y fan dolurus. Os bydd yno archoll, gellwch osod ychydig o *lint*, wedi ei drochi mewn olew, dan y sugaethan. Mae sugaethan bara yn dda neillduol i arwynebedd drylliedig.

*Diodydd.*—Yn gyffredin mae dynion yn yfed gormod. Gwna gwydraid bychan o ddwfr, ond ei sipian bob yn ychydig, dori syched gystal ag y gwna peint wrth ei draflyncu ar unwaith. Mae yfed llawer gyda chiniaw, yn rhwystro y treuliad. Gwell yfed ychydig yn mhen tuag awr ar ol ciniaw, os teimlir syched. Mae cwpanaid o dê neu goffi, ond gofalu na byddo yn rhy gryf nac yn rhy dwym, yn llesiol.

*Bronchitis.*—Sef dolur yn y bibell wynt. Cymerer mêl yn

ei ddiliau, a gwlycher y gwefusau yn fynych ag ef. Dywed Papyr Americanaidd na fetha hwn hyd yn nod pan byddo gyddfau plant wedi chwyddo fel na allont lyncu.

---

*Afalau.*—Mae ychydig o afalau addfed yn hyfryd a llesiol iawn; ond dylid peidio bwyta llawer o honynt. Wedi eu pobi mewn ffwrn neu wrth y tân, neu wedi eu berwi, y byddai oreu eu defnyddio. Pan rodder hwynt mewn ffwrn, dylid peidio rhoddi crystyn bras am danynt. Tuag at gadw afalau rhag gwaethygu, gofaler am eu rhoddi ar lawr sych dros dair wythnos cyn eu rhoddi at eu gilydd mewn barilau i'w cadw. Dylid eu cadw mewn lle oer; gyda gofal priodol gellir eu cadw yn dda dros y gauaf.

*Ffa, pys, kidney beans.*—Mae y ffrwythau hyn pan yn ieuainc a thyner, yn ymborth meithrinol, yn enwedig i bobl yn gweithio yn yr awyr agored. Wedi iddynt heneiddio mae y croen gwyn sydd am danynt yn anhawdd i'w dreulio, ac felly dylai gael ei dynu ymaith. Maent oll yn wyntog: dylid cofio hyn wrth eu defnyddio. Mae amrywiaeth o bys, ond y rhai gwynion a ystyrir oreu yn ymborth i ddyn; ac maent yn feithrinol iawn.

*Moron (Carrots)*—Mae y gwreiddiau hyn, gyda chig, yn feithrinol fel ymborth; yn dda i bersonau yn dyoddef oddiwrth y Clefri poeth. Dylid eu berwi yn dda. Gwell i bersonau yn dyoddef oddiwrth ddiffyg treuliad eu gochelyd. Maent yn werthfawr iawn hefyd i wneuthur sugaethan i iachau clwyfau braenllyd.

*Cucumerau (Cucumbers).*—Codir y planhigion hyn yn awr yn gyffredin yn ngerddi ein gwlad. Gall ychydig o honynt fod yn hyfryd gyda chig, ond arfer digon o bybyr a finegr gyda hwynt. Dylid peidio bwyta llawer o honynt, o herwydd eu bod yn wyntog ac anhawdd i'w treulio.

*Rhesins (Currants).*—Mae rhesin duon, cochion, a gwynion, yn lled adnabyddus yn ein gwlad, gŵyr y werin lawer am eu rhinweddau, a defnyddiant hwynt yn lled aml. Tueddant i ryddhau yr ymysgaroedd, a chynhyrfu y dwfr;

mae arogl y dail yn beraidd, a dywedir eu bod yn rhinweddol fel meddyginiaeth: ond eu casglu pan ddechreuo y blodau dori allan, a'u sychu yn ofalus, mae eu trwyth yn effeithiol iawn i gynhyrfu y dwfr. Mae y feddyginiaeth hon yn ateb pobl mewn oed yn neillduol. Gwneir *jelly* a *jam* gwerthfawr o'r ffrwythau hyn, y rhai sydd yn fuddiol neillduol i gymeryd powdr a pheleni meddygol ynddynt. *Gweler yr erthygl ar Rhesinwydd, tudal 160.*

*Crafion y Cerig (Cup Moss).*—Planhigyn cyffredin yn ymylau cloddiau a choedydd, a thir diffrwyth. Cynwysa ddefnydd tenen tebyg i ddalen, yn ymdaenu ar hyd wyneb y ddaear, ar ffurf cwpanau. Mae y dail yn sychion, heb sudd, a bylchau afreolaidd yn yr ymylau; maent o liw gwyrddlas ar y tu uchaf; rywbeth yn wynach ar y tu isaf. Mae y cwpanau tua hanner modfedd o ddyfnder. Saif pob cwpan ar gorsen gref; tyfant weithiau y naill o ymyl y llall, i dri neu bedwar uchder. Mae arnynt weithiau gnapiau llwydion, y rhai, fel y tybir, a gynwysant yr hadau. Mae yr holl blanhigyn i'w ddefnyddio yn îr; golcher a berwer ef mewn dwfr, nes cael tê cryf; yna rhodder at y gwlybwr yr un faint o laeth, a meluser ef â mêl. Mae y gwlybwr hwn yn beth rhagorol i wella peswch a'r îg ar blant.

*Gentian.*—Math o chwerwlys yw y planhigyn hwn; nid yw yn cael ei godi yn gyffredin yn y wlad hon, ond cedwir ef gan y Fferyllydd. Ei wraidd ddefnyddir yn feddyginiaeth; gellir cael ei rinwedd trwy wneuthur trwyth o hono: mae yn fuddiol er cynorthwyo y cylla i dreulio bwyd.

*Sinsur (Ginger).*—Dygir y gwreiddyn gwerthfawr hwn i'r wlad hon o'r ddwy India, a China, ond o Jamaica y dygir y goreu. Gwreiddyn yr un planhigyn yw yr un gwyn a'r un du, ddim ond eu bod yn cael eu trin yn wahanol. Mae gwahaniaeth mawr rhwng rhinwedd, pris, ac ymddangosiad gwahanol ddarnau o'r gwreiddiau hyn. Y gwreiddiau mwyaf newydd ac anhawddaf i'w tori yw y rhai goreu, y rhai ydynt o liw melyn goleu, ac iddynt flas ac arogl peraidd. Nid yw yr un tywyll tyner yn dda. Defnyddir ef gyda phethau ereill, er llaesu poen a gwasgaru gwynt. Gellir

gwneuthur tê o'r powdr, a chymeryd llonaid llwy dê o'r gwlybwr hwn. Dylai pobl a flinir gan wynt ei gadw yn eu hymyl.

*Had Llin (Linseed or Lintseed).*—Yr hadau hyn, ond eu gadael i aros awr neu ddwy mewn dwfr berwedig, a wnant drwyth gwerthfawr ddim ond ei hidlo, i'w yfed er llaesu peswch, a dofi gwres yn y rhanau mewnol. Mae blawd yr hadau hyn yn fuddiol i wneuthur sugaethan i dyneru chwydd, &c. Gellir gwneuthur tê rhinweddol neillduol trwy roddi dau chwart o ddwfr berwedig ar un wns o'r hadau, a dau *ddram* o wreiddyn *Liqourice* wedi ei naddu; gadawer yr oll i sefyll pedair neu chwech awr. Mae y gwlybwr hwn yn fuddiol i esmwytho peswch, dofi gwres, &c.

*Senna.*—Mwydwch dros awr, mewn llestr cauedig, un wns a hanner o Senna, un dram o sinsur *(ginger)* wedi ei naddu, mewn peint o ddwfr berwedig. Ytwch o hanner i lonaid gwydr gwin o hono ar y tro. Neu rhoddwch ddau ddram o Senna gydag ychydig o *bohea tea*, mewn chwarter peint o ddwfr berwedig; wedi ei loywi, chwanegwch ato ychydig siwgr a llaeth, ac yfwch ef.

*Nitre.*—Mae *nitre* yn gyffyr rhad a gwerthfawr iawn i oeri a phuro y gwaed. Mewn twymyn anwyd, byddai cymeryd o saith i ddeg *grains of purified nitre*, mewn gwydriad o ddwfr oer, yn llesiol neillduol.

---

Er cadw y cyfansoddiad yn iach a hywiog, chwanegir yr ychydig nodiadau canlynol. Mae i bob cysur ei amodau; a rhaid ymostwng i'r amodau hyny cyn ei fwynhau. Mae hyn yn ol trefniad doeth y Creawdwr bendigedig.

1. *Er cael cyfansoddiad iach, rhaid cymeryd digon o awyr pur.* Mae llawer o bethau yn llygru yr awyr ag ydym yn anadlu, megys dwfr llonydd, llysiau, gwellt, dail, &c., pan yn pydru. Ni ddylai y cyfryw bethau gael eu gadael yn ymyl aneddau. Mae yr awyr a gyfyd oddiwrthynt yn wenwynllyd, ac yn fynych yn achosi twymynon a heintiau. Mae awyr morfeydd a thiroedd gwlybion, yn niweidiol iawn ar amserau. Dylid dewis lle uwch na'r cyfryw diroedd i fyw ynddo.

Dylid peidio cadw llynau o ddwfr llonydd drewllyd yn ymyl trigle dynion. Dylai *pawb* ymdrechu myned allan *bob dydd* i awyr iachus dros ychydig o amser.

2. *Mae o bwys mawr fod yr ymborth yn feithrinol.* Ymddengys fod dyn wedi ei amcanu i fyw, mewn rhan, ar lysieu-fwyd, ac mewn rhan, ar gig-fwyd: gofaler am ran briodol o bob un o honynt. Dylid cymeryd digon o amser i gnoi pob bwyd yn fân: dywed meddygon medrus, fod angen i ddwfr y genau gael ei gymysgu â phob bwyd a lyncom. Darparodd y Crëwr y dwfr hwn er cynorthwyo y treuliad. Y diffyg o hono yw un o'r prif achosion nad yw y bwyd yn treulio yn dda yn y cylla. Byddai yn fuddiol iawn i ddyn *orphwys ychydig cyn ac ar ol bwyta.* Mae ychydig o ymddyddan bywiog, siriol, a chynhyrfus ar ol pryd bwyd, yn gynorthwyol i'r treuliad, ac yn llesiol er meithrin gwaed da. Gall y cryf a'r iach anturio bwyta braidd bob bwyd; ond dylai y gwan a'r afiach, ofalu am fwyd addas i'w gyflwr. Ceir digon o ddewisiad mewn pysgod, cig, ac adar. Treulia y bwydydd hyn, yn gyffredin, mewn o ddwy i bedair awr. Y cig tecaf a'r manaf ei linynau, yw yr hawddaf i'w dreulio. Cig moch fyddo wedi ei borthi â chynyrch llaethdy, ychydig o gloron, ac ŷd, yw y goreu. Nid yw cynyrchion darllawdai a distyll-dai, yn iachus. Mae llawer o gig moch o'r fath olaf i'w gael yn ymyl trefi a dinasoedd. Pan byddo y cig moch yn dda, ymddengys yn oleu a llyfn, a'r rhan fras yn wyn a theg. Moch tua dwy flwydd oed wnant y cig goreu. Dylid gofalu am ei drin yn ofalus; os na bydd wedi ei ddigoni yn dda, mae agos yn annhreuliadwy. Ni ddylai plant na phobl weinion, na phersonau yn eistedd llawer, fwyta cig moch bras. Ymborth meithrinol neillduol yw cig dafad, yn enwedig o Awst i Ionawr. Cytuna, yn gyffredin, â chylla gwan, yn well nag un cig arall. Er ei gael yn dyner, da fyddai ei gadw cyhyd ag y gellir heb iddo ddrygu, cyn ei ddigoni. Berwer neu pober ef *yn dda:* dywedir *na ddylai fod dim lliw gwaed* ar y *gravy* pan fyddo yn cael ei dori.

Mae pob math o fwyd blawdog, megys bara gwenith, bara ceirch, bara haidd, uwd blawd ceirch, *sago, tapioca, arrow-root*, cloron *(potatoes)*, &c., yn addas iawn i'r corph dynol. Treulia y pethau hyn, yn gyffredin, mewn llai na



[illegible]



*Wild Parsnip*



*Purple Loosestrife*



*Wood Sage*



*Scurvy Grass*



*Sneeze Wort*



*Pellitory of the Wall*

dwy awr o amser: yn nghylch hanner yr amser a ofyna pryd o fwyd cymysg. Dylid gochelyd llysiau a ffrwythau anaddfed. Da fyddai peidio tynu y brân yn llwyr o flawd gwenith: mae blawd teg yn rhy rwymawl. Pa fwyd bynag a fwyteir, *dylid ei adael pan yn ei flas*: cymeryd digon, ond peidio gorlwytho y cylla. Mae gweithio neu fyfyrio yn hir cyn boreufwyd yn niweidiol. Gofaler am *newid* bwydydd yn fynych. Niweidia miloedd eu hiechyd trwy fwyta neu yfed yn anghymedrol; bod yn effro pan ddylent gysgu, neu gysgu pan ddylent fod yn effro; cymeryd gormod neu rhy fach o ymarferiad; cysgu mewn ystafelloedd cyfyng, heb fod awyr iachus yn myned trwyddynt; llwytho eu cylla â chyffyriau meddygol yn barhaus, yn lle â bwyd priodol.

3. *Gofaler hefyd am lanweithdra.* Dylid golchi y corph yn fynych; nid yn unig y rhanau sydd yn amlwg, ond y corph oll drosto. Dylai y dillad gael eu newid yn fynych. "*Cleanliness is next to godliness.*"

4. *Mae ymarferiad hefyd o bwys mawr.* Mae ffurfiad y corph yn dangos iddo gael ei fwriadu at ymarferiad. Mae ynddo yn nghylch 400 o gyhyrau *(muscles)*, oll i ateb rhyw ddyben mewn symud neu weithio. Mae gweithio, cerdded, marchogaeth, &c., yn llesiol iawn i'r corph. Mae ymarferiad yr unmor angenrheidiol i'r *meddwl* ag yw i'r corph. Gofaler am gymedrolder yn y naill a'r llall. Mae ymarferiad yn cryfhau aelodau y corph a galluoedd y meddwl. Os ewyllysiwn i'r holl gyfansoddiad fod yn gryf a iach, rhaid gweithio yr holl gyfansoddiad. Trwy hyn gellir parhau a chynyddu iechyd a nerth. Dylid rheoleiddio yr ymarferiad yn ol cyflwr ein hiechyd a graddau ein grym. Peth niweidiol iawn i alluoedd y meddwl, yw i ddyn fod lawer wrtho ei hun. mae hyn yn amlwg mewn dynion a gadwyd wrthynt eu hunain mewn carcharau. Da i ddyn yw troi ei feddwl at *amrywiaeth* o wrthrychau. Dylai pob dyn ofalu am orphwys dros gyfran briodol o bob 24 awr. Mae cwsg yn anhebgorol er adnewyddiad nerth a bywiogrwydd corph a meddwl. Dylai y meddwl gael *difyrwch* diniwed.

5. *Dylid ymdrechu cadw y corph mewn tymer briodol, trwy ochelyd eithafion o ran oerfel a gwres.* Dylid peidio eistedd yn hir mewn ystafell laith ac oer; mae yn ofynol i'r dillad gael eu rheoleiddio, o ran eu defnydd a'u trwch, i ateb yr oed a'r hin, &c.

# TAFLEN

O DDOGNAU O GYFFYRIAU MEDDYGOL MEWN ARFERIAD CYFFREDIN, AC O GLEFYDAU AT BA RAI EU BWRIEDIR.

## Allan o'r "NEW FAMILY PHYSICIAN."

*The dose stated is for an adult; from twenty one to fourteen, two-thirds; from fourteen to seven, one-half; from seven to four, one-third; four, one-fourth; three, one-sixth; two, one-eighth; one, one-twelfth.*

| *Medicines.* | *Dose.* | *Proper Vehicle, &c.* | *Effect, &c.* | *Diseases;—proper for* |
|---|---|---|---|---|
| Ether ... ... ... | 30 dps. to 1 dm. | cold water ... ... | antispasmodic ... ... | asthma, cramp, and flatulence |
| Ethiop's mineral ... | 15 to 30 grains | honey, twice a-day ... | alterative ... ... | scald head, cutaneous foulness |
| Almonds, emulsion of | a wine glassful | every 2 or 3 hours ... | demulcent ... ... | strangury, cough |
| ——— oil of ... ... | 1 to 3 drachms | honey, ditto ... ... | ditto ... ... ... | ditto, ditto |
| Aloes, socotrine ... ... | 3 to 15 grains | in pills ... ... | purgative ... ... | obstinate costiveness |
| ——— tincture of ... | 3 to 6 drachms | water ... ... | ditto, and vermifuge ... | ditto, and worms |
| Alum powder ... ... | 10 to 20 grains | ditto, 3 times a-day ... | astringent ... ... | flooding |
| Amber, rectified oil of | 8 to 10 drops | honey, twice a-day ... | antispasmodic ... ... | hysteric fits, hooping cough |
| Ammoniac gum ... ... | 10 to 15 grains | in pills, ditto ... ... | expectorant ... ... | chronic cough, asthma, &c. |
| Ammoniac, gum milk of | 3 tablespoonfs. | 2 or 3 times a-day ... | ditto ... ... ... | ditto, ditto |
| Antimonial powder ... | from 3 to 5 grs. | honey ... ... | sudorific ... ... | inflam. fever, pleurisy, &c. |
| —wine (as an emetic) | 2 to 4 drachms. | water ... ... ... | emetic ... ... ... | |

| *Medicines.* | *Dose.* | *Proper Vehicle, &c.* | *Effect, &c.* | *Diseases ;—Proper for* |
|---|---|---|---|---|
| Antimonial wine (as an alterative) | 12 to 20 drops | barley-water, twice a-day | sudorific ... ... | St. Anth. fire, cutan. foulness |
| Aromatic confection ... | 15 to 30 grains | cinnamon wat. 2 or 3 do. | astringent and cordial | purging, cramp in the stomach |
| ——— species ... | 5 to 10 grains | water, ditto ... | stomachic .. | indigestion, flatulence |
| Asafœtida emulsion ... | 4 to 8 drachms | every 3 or 4 hours | antispasmodic ... ... | hysteric asthma, hoop. cough |
| ——— tincture of ... | 30 to 60 drops | water, ditto ... | ditto ... ... ... | ditto, ditto |
| ——— volat. spirit of | 20 to 40 drops | water, ditto | ditto | ditto, and fainting |
| Asafœtida pill ... .. | 10 to 15 grains | in pills, twice a-day .. | antispasmodic .. ... | hysteric asthma, and fainting |
| Balsam of capivi .. ... | 20 to 40 drops | in honey, ditto | diuretic and balsamic | whites, gleets, gravel |
| ——— of Peru ... ... | 5 to 10 drops | ditto, ditto ... | stimulant ... ... | flatulence, asthma, gleets |
| ——— traumatic ... | 20 to 40 drops | ditto, or sugar ditto .. | ditto ... | ditto, ditto |
| ——— Tolu, tincture of | 30 to 60 drops | ditto, or water ditto | ditto, and pectoral ... | ditto, and chronic cough |
| Bark Peruvian, powder | 20 to 60 grains | mint water, 4 or 6 times | tonic ... ... ... | ague, indigestion, weakness |
| ——decoction of ... | 3 to 4 ta. spfs. | 3 or 4 times a-day ... | ditto ... | relaxation and weakness |
| —— essential salt of ... | 3 to 10 grains | Port wine, ditto .. | ditto .. .. ... | ditto, ditto |
| —— tincture of ... .. | 2 to 4 drachms | water, ditto ... | ditto ... ... | ditto, ditto |
| —— ditto, Huxham's | 2 to 4 drachms | ditto, ditto ... | ditto ... ... ... | ditto, ditto |
| —— ditto, volatile .. | 1 to 2 drachms | ditto, ditto .. | ditto .. | indigestion, heartburn |
| Basilic powder .. .. | 5 to 20 grains | honey, twice a-week | vermifuge and cathartic | worms, costiveness, dropsy |
| Calomel ... | 3 to 5 grains | in a pill, twice a-day .. | alterative | vener. disease, foul ulcers, &c. |
| Camphor .. ... ... | 2 to 4 grains | ditto, ditto ... | antispasmodic .. .. | hooping cough, convuls. fits |
| ——— Julep of .. | 2 to 4 ta. spfs. | three times a day .. | ditto, and febrifuge ... | nervous fever, ditto, ditto |
| Canella alba, powder of | 10 to 20 grains | mint water, ditto .. | stomachic ... ... | indigestion, flatulence |
| ——— tincture of | 2 to 3 drachms | water, ditto ... ... | ditto ... ... | ditto, ditto |
| Cardamoms, tincture of | 2 to 3 drachms | ditto, ditto ... | stimulant ... ... | ditto, ditto, and cramp |
| ———comp. ditto | 2 to 4 drachms | camomile tea, ditto .. | stomachic ... ... | ditto, ditto |
| Castor, Russian, powd. of | 5 to 10 grains | camphorated julep, do. | antispasmodic ... .. | convuls. fits, nerv. irritability |
| ——— tincture of ... | 1 to 2 drachms | ditto, ditto, ditto | ditto ... ... ... | ditto, ditto |
| Castor oil ... ... ... | 4 to 8 drachms | mint water ... .. | purgative ... ... | colic, costiveness |

| *Medicines.* | *Dose.* | *Proper Vehicle, &c* | *Effect, &c.* | *Diseases;—Proper for* |
|---|---|---|---|---|
| Castor oil cold expressed | 4 to 10 drachms | mint water ... | purgative ... ... | colic, costiveness |
| Cascarilla powder ... | 10 to 20 grains | ditto, 3 times a-day ... | stomachic ... ... | indigestion, weakness |
| ——— tincture of ... | 1 to 3 drachms | water, ditto ... | ditto ... ... ... | ditto, ditto |
| ——— volatile ditto | 40 to 60 drops | ditto, ditto ... | ditto ... ... ... | gout. flatulence, heartburn |
| Catechu, tincture of ... | 1 to 2 tea-spfs. | mint water, ditto ... | astringent ... ... | chronic looseness, flooding |
| Chalk, prepared ... ... | 10 to 15 grains | ditto, 4 times a-day ... | astringent ... .. | looseness, acidity |
| Camomile flow'rs powd of | 10 to 20 grains | ditto 2 or 3 times a-day | stomachic and vermifuge | indigestion, worms, &c. |
| ——tinct. of and ginger | 10 to 40 drops | water, 3 or 4 times a-day | stomachic ... ... | gout, cramp in the stomach |
| Cinnamon Powder ... | 5 to 10 grains | ditto, 3 times a-day ... | ditto ... ... ... | indigestion. flatulence, &c. |
| ——— essence of ... | 3 to 10 drops | water ... ... ... | stimulant ... ... | flatulency, colic pains |
| Cinnamon, tincture of | 3 to 4 drachms | water ... ... ... | astringent ... ... | looseness |
| Colombo powder ... | 10 to 20 grains | mint water, 3 times a-day | stomachic ... ... | indigestion, chronic looseness |
| ——— tincture of ... | 1 to 3 drachms | ditto ditto ... | ditto ... ... ... | ditto, ditto |
| Crabs' claws, prepared | 15 to 20 grains | ditto, every 3 or 4 hours | astringent ... ... | purging, dysentery, acidity |
| Cretaceous powder with opium ... ... ... | 10 to 20 grains | ditto, dit.o ... | ditto ... ... ... | obstinate purging & dysentery |
| Contrayerva powder .. | 20 to 40 grains | water, ditto ... | sudorific ... ... | recent colds |
| —.—— compound | 30 to 40 grains | mint water, ditto ... | ditto, and astringent ... | purging of children |
| Cream of tartar ... ... | 1 to 4 drachms | honey, every morning | aperient and alterative | inflam. erupt. of the skin. &c. |
| Colocynth pill, compound | 5 to 20 grains | occasionally ... ... | active purgative ... | costiveness |
| ——— extract .. | 5 to 20 grains | ditto ... ... | ditto ... ... | obstinate ditto, or colic |
| ——— powder ... | 5 to 20 grains | ditto ... ... | ditto ... ... | ditto, ditto |
| Dover's powder ... ... | 5 to 20 grains | in water ... ... | sudorific and anodyne ... | rheumatism, recent colds, &c. |
| Elixir of vitriol ... ... | 10 to 40 drops | ditto, twice a-day ... | stomachic ... ... | indigestion, flatulence, vomit. |
| Electuary, lenitive ... | 2 to 3 drachms | occasionally ... ... | gentle aperient ... | costiveness |
| Epsom salts ... ... | 4 to 8 drachms | mint water ... .. | ditto ... ... | ditto |
| Foxglove powder ... | half to 3 grains | ditto [4 times a-day | violent purgative & emetic | dropsy |
| ———tincture of .. | 10 to 40 drops | decoc. of liverwo. 3 or | sedative ... ... | consumption of the lungs |

| *Medicines.* | *Dose.* | *Proper Vehicle, &c.* | *Effect, &c.* | *Diseases; proper for* |
|---|---|---|---|---|
| Gentian, tincture of ... | 1 to 2 drachms | water, ditto ... ... | stomachic ... ... | indigestion, flatulence, &c. |
| ——— extract of .. | 5 to 10 grains | in a pill, twice a-day | ditto .. ... | ditto, ditto |
| Ginger powder ... ... | 20 to 60 grains | water, ditto ... | stimulant ... ... | gout, indigestion, flatulence |
| ——— lozenges of ... | 3 or 4 | twice a-day .. | ditto ... ... | flatulency |
| Ginger, tincture of ... | 1 to 2 drachms | water, twice a-day ... | stimulant ... ... | flatulency |
| Guaiacum, gum ... ... | 10 to 30 grains | in a pill, ditto .. | ditto and sudorific ... | chronic rheumatism, gout |
| ———volatile tincture | 1 to 3 drachms | water, 2 or 3 times a-day | ditto, ditto ... | ditto, ditto |
| Hartshorn, spirit of ... | 20 to 40 drops | ditto ditto ... | stimulant .. ... | hysterics, convul. heartburn |
| ——— — burnt prepar. | 20 to 40 grains | mint water, ditto | astringent ... ... | purging, acidity, heartburn |
| Hoffman's anodyne liq. | 30 to 40 drops | water, 2 or 3 times a-day | antispasmodic ... ... | nerv. fever, asthma, hysterics |
| Hemlock, powdered .. | 2 to 3 grains | mint water, ditto | sedative .. ... | hooping, cough, cancer |
| ——— extract of ... | 2 to 3 grains | ditto, or pill, ditto .. | ditto .. .. ... | ditto, ditto |
| Hiera picra ... .. .. | 15 to 20 grains | mint water .. | purgative and stomachic | costiveness, flatulency |
| ——— ——— tincture of | 2 to 4 drachms | water .. .. ... | ditto, ditto, and vermifu. | ditto, ditto, and worms |
| Jalap powder .. ... | 20 to 30 grains | mint water .. ... | active purgative .. | costiveness |
| ——tincture of ... | 2 to 4 drachms | ditto .. .. ... | ditto ... ... ... | ditto |
| Ipecacuanha powder .. | 5 to 30 grains | water .. ... ... | emetic ... .. .. | |
| —— Wine (*Diaphoretic*) | 20 to 40 drops | ditto .. ... .. | ditto ... ... | |
| Iron—See Steel .. | | | | |
| Kino gum, tincture of | 1 to 2 drachms | mint water, 3 or 4 times | astringent ... . | looseness |
| Lavender, comp. spirit of | 30 to 100 drops | water .. | cordial .. ... ... | fainting, or lowness of spirits |
| Logwood, decoction of | a wine glassful | 3 or 4 times a day a day | astringent ... ... | looseness, dysentery |
| ——— — extract of ... | 10 to 20 grains | in cinnamon wat. 3 times | ditto . ... .. | ditto, ditto |
| Madder powder .. ... | 30 to 60 grains | mint water, 2 or 3 times | deobstruent .. ... | chlorosis, or green sickness |
| ——— extract of ... | 10 to 20 grains | ditto. ditto ... | ditto, and tonic . | ditto and scrofula |
| Magnesia ... .. ... | 20 to 40 grains | mint water ... | absorbent .. ... | heartburn and acidity |
| ——— — calcined | 20 to 40 grains | ditto .. .. ... | ditto ... .. .. | ditto, ditto |
| Manna ... ... .. | 3 to 6 drachms | ditto, or tea ... | gentle aperient ... | costiveness |

| *Medicines.* | *Dose.* | *Proper Vehicle, &c.* | *Effect, &c.* | *Diseases;—proper for* |
|---|---|---|---|---|
| Mercurial pill ... | 6 to 12 grains | in a pill, twice a-day ... | alterative ... ... | venereal disease |
| Mercury, calcined ... | 1 to 2 grains | ditto, ditto ... | ditto ... ... ... | ditto |
| ——— with chalk ... | 5 to 10 grains | honey, ditto ... | ditto ... ... ... | scald head, cuta. foulness, &c. |
| Mistletoe powder ... | 20 to 60 grains | mint water, 3 times a-day | tonic ... ... ... | epileptic fits |
| Mithredate ... ... ... | 15 to 20 grains | ditto, ditto ... | astringent ... ... | purging, dysentery |
| Musk ... ... ... ... | 2 to 20 grains | ditto, ditto ... | antispasmodic ... ... | convulsions, locked jaw, &c. |
| Muriatic acid ... ... | 10 to 30 drops | water, twice a-day ... | alterative ... ... | scrofula. cutaneous eruptions |
| Myrrh powder ... ... | 5 to 10 grains | mint water, ditto ... | strengthening ... ... | green sickness, weakness |
| Myrrh, tincture of ... | 1 to 2 drachms | water, 2 or 3 times a-day | strengthening ... ... | green sickness, weakness |
| ———emulsion ... ... | 2 to 3 tablesp'fs | 2 or 3 times a-day ... | ditto, and expectorant | ditto, ditto & chronic coughs |
| Natron, prepared ... | 10 to 30 grains | mint water, 2 or 3 times | alterative ... ... | scrofula, heartburn, cancer |
| ———super carbonated | 10 to 30 grains | water, ditto ... | ditto ... ... ... | ditto, ditto, and vomiting |
| Nitre powder ... ... | 10 to 30 grains | barley water, ditto ... | diuretic and febrifuge ... | strangury, heat of urine, fever |
| —— sweet spirit of ... | 20 to 60 drops | ditto ditto ... | ditto, ditto ... | ditto, ditto, ditto |
| Nitric acid ... ... ... | 2 to 10 drops | water ... ... ... | tonic .. ... ... | diabetes, scrofula |
| Nutmegs, spirit of ... | 4 to 6 drops | ditto ... ... ... | carminative ... ... | flatule, cramp in the stomach |
| Opiate confection .. | 10 to 30 grains | bolus ... ... ... | ditto, and opiate ... | purging, gripes, &c. |
| Opium, purified ... ... | 1 to 2 grains | pill ... ... ... | anodyne ... ... | restlessn. acute pains, asthma |
| ——— tincture of ... | 10 to 30 drops | mint water ... ... | ditto ... ... ... | ditto, ditto, ditto |
| Oyster shells, prepared | 10 to 20 grains | ditto, 4 times a-day ... | absorbent and astringent | looseness, acid. in stom., &c. |
| Paregoric elixir ... | 1 to 3 drachms | barley water, ditto ... | anodyne ... ... | cough, asth. pain in the bow. |
| Peppermint, essence of | 20 to 60 drops | water ... ... ... | carminative ... ... | colicy pains, flatulency, &c. |
| Poppies, white, extract of | 5 to 10 grains | in a pill ... ... | anodyne ... ... | spasms, acute pain, cough |
| ——— syrup of ... | 1 to 4 drachms | water [a-day | ditto ... ... ... | ditto, ditto. ditto |
| Quassia, tincture of ... | 30 to 60 drops | ginger tea, 2 or 3 times | stomachic ... ... | indigestion, flatulency |
| Rhatania powder ... | 10 to 40 grains | mint water, every 2 hours | tonic ... ... ... | |
| —— ——tincture of ... | 2 to 4 drachms | mint wat. 3 times a-day | ditto ... ... ... | |
| ———camp. ditto | 2 to 4 drachms | ditto, ditto | ditto ... ... ... | |

| *Medicine.* | *Dose.* | *Proper Vehicle, &c.* | *Effect, &c.* | *Diseases;—proper for* |
|---|---|---|---|---|
| Rhatania aromatic ditto | 2 to 4 drachms | mint wat. 5 times a-day | tonic ... ... .. | |
| Rhubarb powder .. ... | 20 to 30 grains | in mint water ... | cathartic and stomachic | indigestion, flatulence |
| Rhubarb, tincture of ... | 4 to 6 drachms | in mint water .. | cathartic and stomachic | |
| ——— bitter ditto ... | 2 to 3 drachms | water, once or twice a-day | ditto, ditto | |
| lozenges with ginger | 2 or 3 | twice a-day ... ... | ditto, ditto | |
| Rochelle salt ... ... | 2 drs. to 1 oz. | water . ... | laxative ... ... | |
| Roses, infusion of ... | 1 to 2 ounces | 2 or 3 times a day ... | cooling .. ... | sore throat |
| Roses, conserve of ... | 1 to 2 drachms | 2 or 3 times a-day ... | astringent ... ... | indigestion, relaxation, &c. |
| Saffron, tincture of ... | 1 to 2 drachms | water .. .. ... | stomachic ... ... | |
| ——— syrup of ... ... | 2 to 3 drachms | ditto .. ... | ditto ... ... ... | |
| Salts, Glauber ... ... | 6 to 12 drachms | mint water ... .. | laxative ... ... | |
| ———Epsom ... ... | 6 to 8 drachms | ditto ... ... | ditto ... ... ... | |
| ———Cheltenham ... | 6 to 12 drachms | ditto .. ... | ditto ... ... ... | |
| ———Polycrest .. ... | 1 to 3 drachms | ditto . ... | ditto ... ... ... | |
| ———tasteless .. ... | 2 drs. to 1 ounce | in gruel or broth ... | ditto .. .. ... | |
| ———of Tartar ... | 10 to 30 grains | mint water ... .. | ditto .. .. | |
| ———of Wormwood ... | 10 to 30 grains | ditto .. | ditto ... ... ... | |
| Sarsaparilla powder ... | 20 to 60 grains | ditto, 2 or 3 times a-day | alterative .. .. | scrofula |
| ——— comp. decoct. | 3 to 4 ounces | 3 or 4 times a-day ... | ditto .. ... ... | ditto |
| Scammony powder ... | 5 to 20 grains | mint water .. . | cathartic ... ... | indigestion, worms, &c. |
| ———— comp. ditto | 5 to 20 grains | ditto . ... . | ditto, and vermifuge ... | ditto, ditto |
| —— comp. with calomel | 5 to 10 grains | honey ... ... ... | ditto ... ... ... | ditto, ditto |
| Senna, infusion of ... | 2 to 3 ounces | occasionally ... .. | ditto ... ... ... | costiveness, worms, &c. |
| ——— tincture of ... | 2 to 8 drachms | water . ... ... | ditto ... ... ... | ditto, ditto |
| Soluble Tartar ... ... | 1 to 8 drachms | mint water ... ... | aperient ... ... | costiveness, indigestion |
| Spermaceti powder ... | 20 to 60 grains | honey, 3 or 4 times a-day | tonic ... ... ... | |
| Spirit, Mindererus's .. | 4 to 6 drachms | mint water, ditto ... | | |
| ———of vitriol, sweet | 10 to 40 drops | ditto ditto | | |
| ———nitre ... ... | 15 to 60 drops | barley water .. ... | | |

# ENWAU Y LLYSIAU.

## NAMES OF THE HERBS.

## ENWAU GWAHANOL GLEFYDAU Y CYFEIRIR ATYNT TRWY GORPH Y LLYFR.

## CLEFYDAU.

## AMRYWIOL O GYFARWYDDIADAU BUDDIOL. EREILL.






E. A J. GRIFFITHS, ARGRAFFWYR, ABERTAWY.